# GOLWG

AR Y

# *Cyfammod Gras,*

GAN Y

PARCH. T. BOSTON.

# GOLWG

AR Y

# CYFAMMOD GRAS,

O'R

## YSGRYTHYRAU SANTAIDD:

YN YR HWN Y MAE

Y PLEIDIAU yn y CYFAMMOD hwnw, y GWNEUTHURIAD o hono, ei RANAU, yn AMMODOL ac yn ADDEWIDIOL, a'r GWEINYDDIAD o hono, yn cael eu hystyried ar wahân;

Y'NGHYD A'R

PRAWF o fod yn BERSONOL ACHUBOL ANWAHANOL YNDDO EF, a'r FFORDD O OSOD Pechaduriaid ynddo, er eu tragywyddol iachawdwriaeth:



Gan y Parchedig a'r Dysgedig

## Mr. THOMAS BOSTON,

*Gweinidog yr Efengyl yn ddiweddar yn Ettrick, Swydd Selkirk, yn yr Alban, (Scotland.)*



WEDI EI GYFIEITHU I'R GYMRAEG,

Gan D. WILLIAMS, MERTHYR TYDFIL.

MERTHYR TYDFIL:
ARGRAFFWYD GAN J. JENKINS.

1823.

# HYSPYSIAD.

GAN ſod y TRAETHAWD hwn yn waith o eiddo fy Nhad, a gyhoeddwyd wedi iddo ef farw, mi a feddyliais fod yn angenrheidiol i dystiolaethu i'r byd, ei fod ef wedi ei gyhoeddi yn yr un modd ac y gadawodd efe ef, gan gael ei argraffu o'i law'sgrifen ef ei hun, yr hon oedd wedi ei darparu i'r argraffwasg, heb un ychwanegiad na chyfnewidiad, beth bynag.

THOMAS BOSTON.



# Y CYNNWYSIAD.

## Y III. PEN.

## Y Rhanau o'r Cyfammod Gras.

## Y IV. PEN.

## Y Gweinyddiad o'r Cyfammod Gras.

## Y V. PEN.



## Y VI. PEN.



---

GWALL.

Yn nhu dal. 358, llinell 21, yn lle *dyoddefiadau*, darllen *digonolrwydd*.

# GOLWG

AR Y

# CYFAMMOD GRAS.

PSALM LXXXIX. 3.

*Gwnaethum ammod a'm hetholedig.*

1 COR. XV. 45.

*A'r Adda diweddaf yn ysbryd yn bywhau.*

MEGIS ag yr oedd dinystr dyn yn wreiddiol o herwydd toriad y cyfammod gweithredoedd, felly y mae ei adferiad, o'r cam cyntaf hyd y diweddaf o hono, yn hollol o herwydd y cyflawniad o'r cyfammod gras; yr hwn gyfammod, gan ei fod yn cynnwys ynddo holl ddirgelwch ein hiachawdwriaeth, yr ydwyf i ymegnio rhoddi eglurhad o hono, megis y gwelo yr Arglwydd fod yn dda i'm cynnorthwyo. Ac y mae angenrheidrwydd mwy o gael ymddibyniad gostyngedig ar Dad y goleuni, trwy Iesu Grist ei Fab, am amlygiad ei Ysbryd yn y mater hwn, a hyny o herwydd fod yr adnabyddiaeth o'r cyfammod cyntaf mewn rhan trwy oleuni natur, a'r adnabyddiaeth o'r ail yn hollol yn ol datguddiad.

Oddiwrth y cyfammod hwn y mae'r Psalmydd, yn yr adnod oflaen y testun, y cymmeryd golwg gysurus ar adeiladaeth ogoneddus yn myned i fynu yn anffaeledig y'nghanol dinystr, sef adeiladu trugaredd; "Canys dywedais, Adeiledir trugaredd yn dragywydd." Gosodir allan y'ngein-

iau ein testun mai sylfaen y cadarnhad, neu yr haeriad hyderus uchod, yw ammod Duw â'i etholedig. Oddiwrth gysgod y cyfammod gras, sef y cyfammod brenhinol a wnawd â Dafydd, efe a welodd drugaredd yn cael ei hadeiladu i deulu brenhinol Judah, pan yr oeddent wedi myned yn dra isel. Oddiwrth y sylwedd o hono, efe a welodd drugaredd yn cael ei hadeiladu i bechaduriaid o ddynolryw, oedd yn gorwedd mewn dinystr trwy doriad y cyfammod cyntaf. Dyma'r adeiladaeth newydd hono y darfu i rydd ras ei gosod hi ar droed i ni; i'r hon y mae y rhai a gredant yn ddiatreg yn cael eu derbyn ar eu ffydd, yn yr hwn le, wedi eu derbyn un waith, y cânt byth aros; adeilad o drugaredd yw, yn yr hon y mae pob careg, o'r gwaelod i'r pen, o'r gareg sylfaen i'r pen congl-faen, yn drugaredd bur, yn drugaredd gyfoethog a rhad i ni.

Mi a gaf draethu ychydig eiriau am yr adeilad hon o drugaredd.

Ac, yn 1. Yr oedd y cynllun o honi wedi ei dynu er tragywyddoldeb, y'nghyngor y Drindod: canys y mae "yn ol yr arfaeth dragywyddol, yr hon a wnaeth efe yn Nghrist Iesu," Eph. iii. 11. Yr oedd gwrthddrychau trugaredd, yr amser a'r lle, y ffordd a'r moddion, i anrhegu y drugaredd hon ar y gwrthddrychau, wedi ei arfaethu yn bennodol cyn bod dyn yn druenus, ie cyn ei greu ef. Yn 2. Yr adeiladwr yw Duw ei hun, y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân, 1 Cor. iii. 9. "Adeiladaeth Duw ydych chwi." Y mae pob un o'r Personau Dwyfol ar waith yn yr adeiladaeth hon: y Tad a ddewisodd wrthddrychau trugaredd, ac a'u rhoddodd i'r Mab i'w prynu; y Mab a bwrcasodd ryddhad iddynt; ac y mae yr Ysbryd Glân yn cymhwyso'r waredigaeth a bwrcaswyd at eu personau: eithr y mae hyn yn cael ei briodoli mewn modd pennodol i'r Mab, ar sail ei orchwylyddiaeth

neillduol yn y gwaith, Zech. vi. 12. "Wele, y Gwr a'i enw BLAGURYN—EFE a adeilada deml yr Arglwydd:" adn. 13. "Ië, teml yr Arglwydd a adeilada EFE; ac EFE a ddwg y gogoniant."—Yn 3. Yr oedd y sylfaen wedi ei gosod i lawr yn ddwfn yn y cyngor tragywyddol; y tu draw i gyrhaedd golwg dynion nac angelion. Y mae Paul, wrth ei hystyried, yn gwaeddi allan, "O ddyfnder!" Rhuf. xi. 33. "Canys pwy a wybu feddwl yr Arglwydd? neu pwy a fu gynghorwr iddo ef?" adn. 34. Yn 4. Y mae mwy nâ phum mil o flynyddoedd oddiar pan y cyfododd yr adeilad hon uwchlaw y ddaear. A'r gareg gyntaf a ymddangosodd o honi oedd addewid—addewid o Achubwr, yn cael ei rhoddi yn mharadwys ar ol y cwymp, Gen. iii. 15. hyny yw, y byddai i hâd y wraig ysigo pen y sarff. Yma yr oedd trugaredd. Ac fe osodwyd trugaredd ar drugaredd: gosodwyd trugaredd fywhâol ar drugaredd addewidiol, trwy yr hyn y galluogwyd ein rhieni cyntaf colledig i gredu'r addewid: ac ar drugaredd fywhâol gosodwyd trugaredd faddeuol iddynt hwy; ac ar drugaredd faddeuol, drugaredd santeiddiol a sicrhâol; ac ar hyny yn y diwedd, drugaredd ogoneddol.—Yn 5. Y cymmrwd *(cement)* yw gwaed—gwaed Iesu Grist y Cyfryngwr, yr hwn yw gwaed Duw, Act. xx. 28. Nis gallasai un drugaredd achubol fod i bechaduriaid, ond trwy'r gwaed hwnw; ac nis gallasai un drugaredd orwedd yn gadarn ar y llall yn yr adeilad, heb gael ei chymmrydu â'r gwaed gwerthfawr hwnw: eithr trwyddo ef y mae yr holl adeilad yn cyd sefyll yn y modd cadarnaf, ac a fydd felly byth, Heb. ix. 22, 23. a'r vii. 24, 25. Yn 6. Oddiar yr amser yr ymddangosodd yr adeilad uwchlaw y ddaear, y mae hi yn myned yn y blaen. Ac y mae llawer o ddwylo wedi eu gosod ar waith i ddwyn y gwaith yn y blaen: yn oes gyntaf y byd, yr oedd patrieirch yn cael eu gosod ar waith, megis Adda, Enoch, a Noah; yn yr oes

ganol, proffwydi, offeiriaid, a Lefiaid; yn yr oesoedd diweddaf hyn, apostolion, a swyddogion ereill anghyffredin, y'nghyd â gweinidogion cyffredinol yr efengyl. Mawr oedd y gwrthwynebiad a wnawd i'r adeilad o'r dechreuad, gan satan a'i orchwylyddion, mewn ffordd o ormes a thwyll: er hyny i gyd, y mae'r adeilad yn myned yn y blaen yn gyson. Ac yn awr y mae hi wedi dyfod y'mhell uwchlaw hanner ei huchder; y mae hi yn tynu tua'r pen, a'r amser y gosodir y gareg ddiweddaf arni: canys y mae yn amlwg ein bod y'mhell yn y blaen "yn nyddiau llef y seithfed angel," yn y rhai y mae dirgelwch Duw i gael ei orphen, Dat. x. 7. Yn 7. Fe osodir yr addurn-faen ar yr adeilad yn y dydd diweddaf; yn yr hwn amser y derbyn yr addewid ei hollol gyflawniad, y'nghwblorpheniad iachawdwriaeth holl wrthddrychau trugaredd, y rhai y pryd hyny sydd i gael eu gosod gerbron, "yn wr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist," Eph. iv. 13. Yn y dydd hwnw y bydd i'n Harglwydd Iesu Grist, yr Adeiladwr mawr, "ddwyn allan y maen penaf, gan waeddi;" sef y drugaredd olaf, yr hon a fydd yn coroni yr oll, gan ddywedyd, "Deuwch chwi, fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi er seiliad y byd." Ac yno hwy a gânt aros yn yr adeilad o drugaredd wedi ei pherffeithio, a chanu am drugaredd byth yn ddiddiwedd mwy. Yn olaf, Y mae'r sylfaen ar yr hon y mae yr adeilad yn sefyll yn un gadarn. Y mae yn angenrheidiol iddi fod felly; o herwydd y mae adeilad o drugaredd i bechaduriaid, oddiwrth Dduw cyfiawn a santaidd, yn adeilad o bwys mawr; yn fwy pwysig nâ'r holl adeilad o nefoedd a daear: a phe byddai iddi syrthio, byddai yr oll wedi ei ddinystrio yr ail waith, heb un gobaith mwy o ymwared. Eithr y mae hi yn sylfaen sicr, yn gyfammod tragywyddol Duw; "Gwnaethum ammod â'm hetholedig."

Yn yr hyn eiriau, yngHyd â'r ail destun, y mae pedwar o bethau i'w hystyried:—Yn I. Y sylfaen ar yr hon y mae'r adeilad o drugaredd yn sefyll, sef y cyfammod. Yn II. Y pleidiau sydd yn ymgyfammodi yn y cyfammod. Yn III. Y gwneuthuriad o'r cyfammod. Ac yn IV. Natur y cyfammod.

Yn I. Y sylfaen ar ba un y mae'r adeilad o drugaredd yn sefyll, yw cyfammod, dwyfol gyfammod, cyfammod sicr. Yr adeilad cyntaf er dedwyddwch dyn, oedd adeilad o haelioni a daioni; ac nid o drugaredd; o herwydd nid oedd dyn yn resynol pan yr oedd yn cael ei hadeiladu. Yr oedd yr adeilad hono wedi ei sylfaenu ar gyfammod hefyd, sef ar y cyfammod gweithredoedd, yr hwn a wnaed â'r Adda cyntaf: eithr efe a dorodd y cyfammod, a daeth yr oll o'r adeilad i lawr mewn munud. Eithr y mae hwn yn gyfammod arall, ac o natur arall. Yn y cysgod yn ddiau, cyfammod brenhinol â Dafydd ydyw, 2 Sam. vii. 11—17. yr hwn oedd sylfaen trugaredd i'w deulu ef, yn cadarnhau'r parhad o hono, a hyny fel teulu brenhinol. Pa fodd bynag, yn y gwir-gysgod a'r sylwedd, y mae yn gyfammod gras, yn gyfammod o fywyd tragywyddol a iachawdwriaeth i bechaduriaid, sef hâd ysbrydol, pen y cyfammod, i gael ei foddi iddynt hwy yn y ffordd o rydd ras a thrugaredd, Psal. lxxxix. 2, 4, 29, 36. yn yr hyn y maent yn cael eu rhyddhau oddiwrth y felldith, fel nas gall eu cyrhaedd hwy, er maint eu ffaeleddau; eithr y mae Duw yn ymddwyn tuag atynt yn barhaus fel ei blant, er eu bod yn troseddu, adn. 30, 33. a hyn oll trwy Iesu Grist yr Achubwr, yr Un cadarn, adn. 19. Dyma sylfaen yr oll o'r adeilad o drugaredd i bechaduriaid, yn eu cyflwr isel, i'r hwn y dygwyd hwynt trwy gwdwm Adda. Y mae y datguddiad, cyhoeddiad, a'r cynnyg, y sydd yn cael ei wneud i feibion dynion o'r cyfammod hwn,

yr hwn oedd yn gorwedd yn guddiedig yn nyfnderau y cyngor tragywyddol, yn cael ei alw yn efengyl; y newyddion hyfryd o gyfammod newydd am fywyd a iachawdwriaeth i bechaduriaid.

Yn II. Y pleidiau-ymgyfammodol yn y cyfammod hwn, yw Duw a'i Etholedig, yr Adda diweddaf: o herwydd y mae yn amlwg, oddiwrth natur y pethau a lafarir yma, yn adn. 3, 4. ac oddiwrth 2 Sam. vii. 8. fod y geiriau hyn, "Gwnaethum ammod â'm hetholedig," yn eiriau yr Arglwydd ei hun. Y mae gan nefoedd a daear, bob un o honynt, ei neillduol orchwyl yn y cyfammod hwn; o herwydd yr oedd yn gyfammod o heddwch rhyngddynt hwy; ac o ganlyniad, y mae hawl pob un o'r ddau yn cael ei olygu gan y pleidiau-ymgyfammodol. Yn 1. O du y nef y mae Duw ei hun, y blaid sydd yn cynnyg y cyfammod—"Gwnaethum ammod â'm hetholedig." Efe oedd y blaid oedd wedi ei anfoddlòni; etto y mae'r cynnyg am gyfammod heddwch yn dyfod oddiwrtho ef: y mae hyn yn ddangosiad amlwg a sicr o ewyllys da yr holl Drindod ogoneddus tuag at adferiad pechaduriaid colledig. Y mae trugaredd yn Nuw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, Tad y trugareddau, yn yr olwg ar fyd colledig, yn ymofyn am ollyngfa, fel y gallo hi ymddangos i'r truenus: eithr y mae cyfiawnder yn sefyll ar y ffordd i attal trugaredd i ymddangos a chael ei hadeiladu, oddieithr i gyfammod gael ei wneuthur, trwy yr hwn y byddai iddo ef gael ei foddloni. Yna medd y Tad, Ni wna y cyfammod cyntaf atteb dyben trugaredd; y mae yn rhaid bod cytundeb newydd: eithr nid fedd y creaduriaid colledig ddim wedi ei adael iddynt i ammodi drostynt eu hunain; oddieithr i arall gymmeryd y baich arno ei hun drostynt hwy, nid oes un feddyginiaeth i'r amgylchiad: nis gallant hwy ddewis y fath un iddynt eu hunain; myfi a wnaf ddewisiad drostynt hwy, (medd y Tad) ac

a wnaf gyfammod a'm hetholedig. Yn 2. O du y dyn gan hyny y mae Etholedig Duw, neu yr Un etholedig; oblegid y mae'r gair yn unigol. Yr un etholedig hwn, yn y cysgod, sef y cyfammod brenhinol, yw Dafydd; eithr yn y gwrth-gysgod, sef y cyfammod gras, Mab Duw ydyw, yr Adda diweddaf, "Crist, etholedig Duw," Luc xxiii. 35. Y gwirionedd yw, y mae y fath bethau mawrion yn cael eu dywedyd am y blaid, â'r hwn y gwnaethpwyd y cyfammod hwn, am ei hâd, ac am yr effeithiolddeb o'r cyfammod hwn, ag nas gall yn gyflawn gytuno â neb ond Crist, a'i hâd ysbrydol, adn. 4, 27, 29, 36, 37. Ni ddarfu i deulu brenhinol Judah, sef tŷ Ddafydd, byth ennill yn ol eu hen orwychedd, ar ol caethiwed Babilon: ac mewn golwg ar yr amser hwnw, y mae yn debyg y cyfansoddwyd y pslam hon: y mae eu teyrnas hwy wedi darfod er ys amryw oesoedd a aeth heibio; ac y mae ardderchogrwydd y teulu hwnw, yn ol y cnawd, wedi cyflawn suddo. Eithr y mae yr addewid a wnaethpwyd i Ddafydd, yn y cyfammod brenhinol, yn blodeuo yn barhaus, ac a flodeua byth yn Iesu Grist, y gangen benaf o deulu Dafydd. Pa fodd, gan hyny, y dichon fod, lai nad Crist, yn benaf, a olygir, yn y bythol adeiladu ar drugaredd, a enwir, adn. 2. a'r sicrhau ar hâd Dafydd, ac adeiladu ei orsedd ef o genedlaeth i genedlaeth? adn. 4. Ac, yn ddiau, efe yn unig oedd yr Un cadarn, addas i'r dirfawr ymrwymiad yn y cyfammod hwn, adn. 19. Ac efe y mae y Tad yn ei nodi allan i ni megis ei Un dewisedig, neu etholedig, Esay xlii. 1.

Yn III. O ran y gwneuthuriad o'r cyfammod hwn rhwng y pleidiau-ymgyfammodol; y Tad a'i gwnaeth ef â'i Fab ei hun; "Gwnaethum ammod â'm hetholedig;" a hyny "cyn dechreu y byd," Tit. i. 2. Trwy eu cyd-gytundeb i hyny, y mae y cyfammod hwn wedi ei gyflawn wneuthur er tragywyddoldeb; yn yr un modd ag y gwnaethpwyd

y cyfammod gweithredoedd â'r Adda cyntaf, cyn i ni gael ein bod. Y mae'r testun, yn y iaith wreiddiol, yn ei alw yn dori ymaith gyfammod; yr hwn ymadrodd a gymmerir oddiwrth yr hen arfer hòno o dori ymaith anifail, trwy ei dori ef yn ddau ddarn, wrth wneuthur cyfammod, Jer. xxxiv. 18. Y mae yn arwyddo fod y cyfammod hwn yn gyfammod trwy aberth; yn yr hwn y mae y blaid-ymgyfammodol o du y dyn i fod yr aberth, a chyfiawnder dwyfol i fod y cleddyf y sydd i'w ddryllio ef, yn ol Zec. xiii. 7. "Deffro gleddyf yn erbyn fy mugail, ac yn erbyn y gwr sydd gyfaill i mi, medd Arglwydd y lluoedd: taro y bugail." Ac heblaw hyny, y mae yn arwyddo, anniddymolrwydd a bytholrwydd y cyfammod a wnaed; heb fod byth mwy i gael ei ddiddymu, mwy nâg yr oedd darnau yr aberth, ar ol eu gwahanu, i gael eu cyssylltu, a'u gwneud fel o'r blaen.

Yn IV. Am natur y cyfammod hwn: y mae pump o bethau yn perthyn iddo, ag a ymddengys oddiwrth y testun; hyny yw, yn 1. Y bod o gynddrychiad ynddo; yn 2. Y dyben o'i osodiad ef ar droed; yn 3. Fod ynddo ef ammod; yn 4. Addewid; ac, yn 5. I law pwy y rhoddwyd y gweinyddiad o hono.

Yn 1. Y mae cynddrychiad yn cymmeryd lle yn y cyfammod hwn. Megis yr oedd yn y cyfammod cyntaf, felly yr oedd yn yr un modd yn yr ail; yr oedd y blaid-ymgyfammodol a'r ymrwymwr o du y dyn, yn gynddrychiolwr, yn cynddrychioli ac yn cynnal personau ereill. Y mae hyn yn ymddangos, oddiwrth fod yr Un etholedig, â'r hwn y gwnaethpwyd y cyfammod, yn cael ei alw yr Adda diweddaf. O herwydd y mae yn amlwg, ei fod ef yn cael ei alw felly mewn cyferbyniad i'r Adda cyntaf, yr hwn oedd ffurf (neu gysgod) o hono ef, Rhuf. v. 14. hyny yw, megis y darfu i'r Adda cyntaf, trwy gynddrychioli ei hâd yn y cyfammod gweithredoedd, ddwyn pechod a marwol-

aeth arnynt hwy; felly y mae yntef, trwy gynddrychioli ei hâd, yn dwyn cyfiawnder a bywyd iddynt hwy; megis y mae'r apostol yn dangos yn helaeth yn y bennod hono.

Yn 2. Dyben y cyfammod hwn oedd bywyd, yr elw mwyaf gwerthfawr i ddynolryw. "A'r Adda diweddaf yn ysbryd yn bywhau," sef i roddi bywyd i'w hâd. Felly y mae yn gyfammod bywyd, megis y mae cyfammod Lefi, y cysgod o hono, yn bennodol yn cael ei alw, Mal. ii. 5. Yr oedd y cyfammod cyntaf yn gyfammod bywyd hefyd: eithr y mae hyn o wahaniaeth, sef bod y cyntaf am fywyd mewn perffeithrwydd i ddyn cyfiawn yn meddu bywyd o'r blaen; a'r ail, am fywyd mewn perffeithrwydd i ddynion pechadurus, yn gyfreithiol ac yn foesol farw. Yr oedd y personau yr oeddid yn ymgyfammodi drostynt, yn yr ail gyfammod, yn cael eu hystyried megis dan rwymau marwolaeth, yn hollol ymddifad o fywyd; ac o ganlyniad, yn hollol analluog i weithredu, neu helpu eu hunain. Yr oeddent yn gorwedd megis esgyrn sychion, yn wasgaredig o amgylch y bedd, gerbron y pleidiau-ymgyfammodol; a chyfiawnder yn gwarafun bywyd iddynt, ond ar ammodau cydunol â'i anrhydedd ef.

Yn 3. Ammod y cyfammod; yr ammod am y bywyd hwnw, y rhoddodd y cynddrychiolwr ei gytundeb iddo, sydd gynnwysedig yn ei fod ef yr Adda diweddaf, fel y byddai iddo gwblhau yr hyn y methodd yr Adda cyntaf ynddo. Fe ddarfu i Adda, yn y cyfammod gweithredoedd, yn ysdod ei ufudd-dod, dramgwyddo, a syrthio; a thrwy ei gwymp efe a aeth yn gyflawn analluog i ddechreu ei yrfa o newydd: a hefyd, trwy hyny efe a aeth dan gospedigaeth y cyfammod hwnw; eithr yr oedd yn hollol analluog i'w thalu hi. Felly y mae yr Adda diweddaf yn dyfod yn lle y cyntaf, nid fel yr oedd yr Adda cyntaf yn sefyll yn ei uniondeb; o herwydd yn yr amgylchiad hwnw, nid oedd un

lle i ail Adda; eithr fel yr oedd ef yn ddyn toredig dan y cytundeb cyntaf. A thrwy ddyfod yn ei le ef yn yr amgylchiad hwn, ei orchwyl ef oedd diwallu gofynion y cyfammod cyntaf ar ran ei hâd. Yr oedd y gofynion hyn yn awr wedi rhedeg yn uchel, yn gyflawn y tu draw i'r hyn oeddent i Adda yn ei gyflwr o ddiniweidrwydd; yr oedd y gosp yn awr yn ddyladwy, yn gystal a'r swm wreiddiol.* Gan hyny, y mae y cyfammod cyntaf, wrth gael ei ddatgan yn yr ail, yn cael ei gyhoeddi yn doredig; ac y mae y ddyled wreiddiol a'r gosp, yn cael eu symo yn un; ac y mae talu yr oll yn cael ei osod ar yr ail, neu yr Adda diweddaf, megis yr ammod o'r ail gyfammod.

Yn 4. Yr addewid yn y cyfammod, oedd i gael ei chyflawni, ar yr ammod hono, gan y blaid-ymgyfammodol o du y nef, sydd gynnwysedig yn y geiriau hyn, "Gwnaethum ammod â'm hetholedig," (yn y iaith wreiddiol, "i'm hetholedig;") hyny yw, "Mi a wnaethum gyfammod, gan rwymo fy hun, trwy addewid ddifrifol, i'm hetholedig, am y cyfryw a'r cyfryw gymmwynasau, ar yr ammod osodedig yn y cyfammod, ag y cytunwyd iddi." Cymharwch â hyn yr ymadrodd canlynol, "Mi a dyngais i'm gwas Dafydd." Fe ymofynir i natur yr addewid hon yn ei le priodol.

Yn ddiweddaf, Y mae'r gweinyddiad o'r cyfammod hwn wedi ei osod yn nwylaw y blaid-ymgyfammodol o du y dyn; "A'r Adda diweddaf yn ysbryd yn bywhau." Gan fod pob un o'r pleidiau-ymgyfammodol yn Dduw, yr oedd yn anmhosibl i un o'r pleidiau fethu; neu i'r ail Adda dori, megis y gwnaeth y cyntaf. O herwydd paham, a'r amser wedi ei rag-osod gan y Tad, i Grist gyflawni ammod y cyfammod, fe gymmerodd Duw ysgil-law unigol Crist, yn ddigonol ddiogelwch,

* Hyny yw, wedi i Adda syrthio, yr oedd yn ddyledus arno nid yn unig ufuddhau, eithr dyoddef y ddedfryd hefyd, oedd wedi ei chyhoeddi yn ei erbyn ef am droseddu cyfraith Dduw.

ac ar hyny efe a'i goscdodd ef yn weinyddwr y cyfammod. Yr oedd y rhai hyny ag oedd ef yn eu cynddrychioli yn cael eu hystyried megis yn bod dan farwolaeth, yr hyn, yn iaith y cyfammod, sydd ymadrodd ëang iawn: yr oedd yr ysbryd a'r bywyd ag oedd yn perthyn i addewid y cyfammod, i gael eu prynu ganddo ef. Felly, ar y cyfrifiad o iddo ef gyflawni ammod y cyfammod mewn amser dyladwy, rhoddwyd cyflawnder o'r Ysbryd, a bywyd tragywyddol, i lettya ynddo ef, i gael eu cyfranu ganddo ef: Dat. iii. 1. "Y pethau hyn y mae yr hwn sydd â saith ysbryd Duw ganddo, yn eu dywedyd." 1 Ioan v. 11. "Roddi o Dduw i ni fywyd tragywyddol: a'r bywyd hwn sydd yn ei Fab ef." Ioan xvii. 2. "Megis y rhoddaist iddo awdurdod ar bob cnawd, fel am y cwbl a roddaist iddo, y rhoddai efe iddynt fywyd tragywyddol." Yn y modd hyn yr oedd ef "yn ysbryd yn bywhau."

Yn awr, yr ATHRAWIAETH oddiwrth y testunau hyn, trwy eu cymharu a'u hegluro yn y modd hyn, yw,

I'r cyfammod gras, am fywyd a iachawdwriaeth i bechaduriaid colledig o ddynolryw, gael ei wneud â IESU GRIST, yr ADDA DIWEDDAF; ac efe wedi ei osod yn weinyddwr o hono.

Wrth drin y testun pwysig hwn, yr ydwyf yn barnu nad yw yn angenrheidiol i mi aros gyda phrofi, fod y fath beth a chyfammod gras; y bod o'r hwn sydd yn amlwg oddiwrth y testunau, y'nghyd âg amryw ysgrythyrau ereill; megis, Esay xlii. 6. xlix. 8. a liv. 10. Heb. viii. 6. a xiii. 20. Eithr fe gaiff yr hanes ganlynol o hono ei rhoddi dan y chwech pen hyn; hyny yw,—Yn gyntaf, Y pleidiau yn y cyfammod gras: yn ail, Y gwneuthuriad o'r cyfammod: yn drydydd, Y rhanau o hono: yn bedwerydd, Y gweinyddiad o hono: yn bummed, Y prawf o fod yn bersonol gadwedigol anwahanol ynddo: yn chweched, Y ffordd o osod pechaduriaid yn bersonol ac yn gadwedigol ynddo.

# Y PEN I.

## Y PLEIDIAU YN Y CYFAMMOD GRAS.

Y MAE y'mhob math o gyfammodau, o ba natur bynag y byddont, pa un bynag ai cyfammodau yn cynnwys addewidion diammodol, neu addewidion ammodol a fyddont, o angenrheidrwydd, bleidiau gwahanol: o herwydd pa fodd bynag y byddo i un arfaethu, bwriadu, amcanu, ynddo ei hun, heb blaid arall; etto y mae gwaith un yn ymgyfammodi, addunedu, neu addo, yn dangos fod rhwymedigaeth yn cyfodi oddiwrth hyny i blaid arall. Yn gyfattebol i hyn, yn y cyfammod gras, y mae tair plaid i'w hystyried; yn gyntaf, Y blaid-ymgyfammodol o du y nef: yn ail, Y blaid-ymgyfammodol o du y dyn: ac yn drydedd, Y blaid yr ymgyfammodir drostynt. Am ba rai y *dangosaf* mewn trefn. Ac,

### I. *Am y blaid-ymgyfammodol o du y nef.*

Megis ag yr oedd yn y cyfammod gweithredoedd yn y pwnc hwn, felly y mae yn yr un modd yn y cyfammod gras: y blaid o un tu yw Duw ei hun, ac efe yn unig. Nid oedd un angenrheidrwydd am neb arall i ofalu am hawl y nef yn y cyfammod hwn: ac nid oedd neb arall mewn bod pan y gwnaed ef, gan ei fod wedi ei wneud er tragywyddoldeb, "cyn dechreu y byd," Tit. i. 2. Y mae hyn yn amlwg oddiwrth eiriau y cyfammod, "Mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw," Jer xxxi. 33. Eithr nid yw yn gwbl eglur pa un a ydyw Duw i gael ei olygu yn hyn, yn ei bersonau, neu ynte yn ei hanfod. Y mae rhai duwinyddion yn meddwl, mai y Tad, a'i ystyried yn ei bersonoliaeth, hyny yw, megis y Person blaenaf yn y Drindod ogoneddus, yw y blaid-ymgyfammodol o du y nef.

Ac ereill, mai Duw, a'i ystyried yn hanfod, hyny yw, fel Tad, Mab, ac Ysbryd Glân, yw y blaid-ymgyfammodol hyny. Eithr pa fodd bynag y bydd i ni amgyffred am y mater hwnw, y mae genym sicrwydd oddiwrth yr ysgrythyrau santaidd, fod y Tri hyn yn un Duw; ac i farnu hyny, yn ol yr ysgrythyrau, y geilir dywedyd mewn modd diogel, mai Duw, a'i ystyried yn ei hanfod, oedd y blaid-ymgyfammodol o du y nef, yn mherson y Tad. Trwy hyn fe a addefir fod gan y Mab a'r Ysbryd Glân eu rhan yn y cyfammod o du y nef, fel y blaid a anfoddlonwyd trwy bechod dyn: ac ar yr un amser, y mae neillduol orchwylyddiaeth yn y gwaith mawr hwn, o ran gallu ac awdurdod, o du y nef, yn cael ei briodoli i berson y Tad; megis y mae i berson y Mab o du y dyn.

Ac am y blaid-ymgyfammodol o du y nef, fel y byddo i ni amgyffred yn uniawn yn y mater hwn, y mae y ddau beth hyn, yn y lle cyntaf, i'w cymmeryd dan sylw. Yn 1. Fe ddarfu iddo ef er tragywyddoldeb arfaethu creu dyn ar ei ddelw ei hun, a gwneuthur y cyfammod o weithredoedd âg ef mewn amser. Y mae'r holl bethau a ddygir oddiamgylch mewn amser, yn gorwedd er tragywyddoldeb yn nghroth arfaeth Duw; trwy rinwedd yr hyn y maent yn cael eu bod mewn amser; o herwydd pa achos, y dywedir fod yr arfaeth yn esgor, megis y mae gwraig yn esgor ar blentyn, Zeph. ii. 2. Ac y mae creadigaeth angelion a dynion, y'nghyd â rhagluniaeth yn eu hachos hwy, yn gwneud llawer o linellau yn llyfr seliedig yr arfaeth. Nid oedd ar y Duw holl-ddigonol eisiau na dynion nac angelion; eithr i'r dyben o egluro ei ogoniant ei hun, fe fwriadodd er tragywyddoldeb eu creu hwynt: ac, y'mhellach, i fyned i'r fath gyfammod â'r dyn, ag y byddai y dyn ynddo yn cynddrychioli ei holl deulu; cymmerodd yr ewyllys ben-arglwyddiaethol drefn wahanol at y

llwyth angelaidd: eithr er hyny efe a fwriadodd iddynt ill dau, y naill a'r llall o honynt ddigonol allu i sefyll yn eu huniondeb, os ewyllysient. Yn y modd hyn, y mae y cyfammod gweithredoedd, yn ei holl berthynasau, er tragywyddoldeb, yn osodedig gerbron y meddwl tragywyddol; er hyny, gan ei fod yn gyfammod â dyn yn unig, nis gallasid myned yn weithredol iddo, hyd nes creuwyd y dyn. Eithr, "Hysbys i Dduw yw ei weithredoedd oll erioed," Act. xv. 18. Yn 2. Fe arfaethodd hefyd er tragywyddoldeb, oddef i'r dyn cyntaf, y cynddrychiolwr o'r holl deulu, i syrthio, ac felly i dori y cyfammod, a geblygu ei hun a'i holl hiliogaeth mewn dinystr. Y mae yn amlwg oddiwrth santeiddrwydd difrycheulyd Duw, a natur y peth, mai nid y dyoddefiad Dwyfol oedd yr achos o gwymp dyn; ac y mae yn amlwg oddiwrth ymddibyniad anhepgorol y creadur ar y Creawdwr, nas gallasai syrthio heb y dyoddefiad Dwyfol. Eithr fe ddarfu i oruchaf Arglwydd yr holl greaduriaid oddef cwymp dyn, i'w ddybenion santaidd ei hun, gan fwriadu dwyn oddiamgylch ddaioni o hyny.

Yn awr, y mae Duw, sef y blaid-ymgyfammodol o du y nef, yn y mater hwn, i gael ei ystyried mewn golygiad triphlyg.

Yn gyntaf, Y mae ef i'w ystyried ynddo fel Duw wedi ei anfoddloni; wedi ei anfoddloni gan holl bechodau dynolryw, yn wreiddiol ac yn weithredol. "Wrth edrych ar feibion dynion," yr oedd yr holl gruglwyth o ddynolryw yn ymddangosol, gerbron llygaid ei ogoniant ef, yn llygredig a ffiaidd, yn hollol wrthwyneb i'w santeiddrwydd ef: efe a'u gwelodd hwynt oll yn un, yn ffiaidd, "Ciliodd pawb; cydymddifwynasant: nid oes a wnel ddaioni, nac oes un," Psal. xiv. 2, 3. Yn y cyfammod cyntaf, fe ddarfu i Dduw ei hun ymgyfammodi â'r dyn, fel cyfaill, heb gyfryngiad

cyfryngwr. Eithr yn yr ail gyfammod nid oedd felly; ac nis gallasai fod felly: o herwydd yn yr ail yr oedd dyn yn cael ei ystyried fel creadur syrthiedig, yn droseddwr o'r gyfraith, ac yn elyn i Dduw; ac y mae ef yn gyfammod o gymmod, yn gyfammod o heddwch, i'r rhai hyny oedd wedi bod mewn rhyfel â'r nef.

Yn ail, Eithr er hyny, y mae Duw i gael ei ystyried yn hyn, fel Duw yn bwriadu, ac yn arfaethu, er tragywyddoldeb, i egluro gogoniant ei rydd ras, cariad, a thrugaredd, yn iachawdwriaeth rhai o ddynolryw colledig. Yn gyfattebol i hyn, y dywedir ein bod yn cael ein hachub mewn amser, "yn ol ei arfaeth ei hun a'i ras, yr hwn a roddwyd i ni yn Nghrist Iesu, cyn dechreu y byd," 2 Tim. i. 9. Heb y fath fwriad o ras yn Nuw, nis gallasai y cyfammod gras byth fod. Eithr fe ddarfu i oruchel Arglwydd yr holl greaduriaid, gan edrych heibio i'r holl angelion syrthiedig, o ran un bwriad o drugaredd iddynt, lettya meddyliau o gariad a heddwch tuag at ddynolryw colledig; gan fwriadu, ynddo ei hun, i wneuthur rhai o honynt hwy yn gof-arwyddion tragywyddol o'i rydd ras a'i drugaredd ef, yn gyfranogion o fywyd a iachawdwriaeth; ac felly efe a osododd y cyfammod gras ar droed.

Yn olaf, Etto yr ydym i'w ystyried ef hefyd, yn y mater hwn, fel Duw cyfiawn, yr hwn nis gall lai nâ gwneud yn uniawn, a rhoddi i bechod ei gyfiawn daledigaeth, "a mawrhau ei gyfraith, a'i gwneud hi yn anrhydeddus," Gen. xviii. 25. Heb. ii. 2. Esay xlii. 21. Ar yr ysgogiad o i drugaredd gael ei heslyn i ddynolryw colledig, y mae cyfiawnder yn gosod attalfa, gan ddadleu nas gall trugaredd gael ei dangos iddynt, ond ar ammodau boddhâol gan y gyfraith a chyfiawnder. Ac, yn wir, nid oedd yn gydunol â natur Duw, nac yn gydunol â'i wirionedd yn ei air, i adeiladu gorsedd gras ar ddinystr ei uniawn gyfiawnder, nac i

ddangos trugaredd er niwed i'w gyfiawnder. Yn awr, yr oedd cyfiawnder Duw yn gofyn am i'r gyfraith, yr hon oedd wedi ei halogi, gael ei chyflawn foddloni, a'i hanrhydedd gael ei adgyweirio trwy ddyoddefaint ac ufudd-dod; y dyoddefaint, y cyfryw ag a foddlonai awdurdod cospedigol y gyfraith: a'r ufudd-dod, y cyfryw ag a foddlonai y rhan orchymynol o'r gyfraith; a chan fod hyn yn gyflawn uwchlaw gallu y pechaduriaid eu hunain, yr oedd yn rhaid iddynt farw heb drugaredd, oddieithr i arall, yr hwn y gallasid ei dderbyn fel digonol Fachniydd, ymrwymo drostynt hwy, fel ail Adda, a dyfod i'w sefyllfa hwy yn eu lle hwy, megis yr oeddent yn gorwedd yn andwyol trwy doriad y cyfammod gweithredoedd.

Yn y modd hyn yr oedd y rhwystr yn sefyll ar ffordd trugaredd i ddyn syrthiedig; yn anorchfygol iddo ef, na neb o'i gyd-greaduriaid: ac fe wnaethpwyd y cyfammod gras i symud y rhwystrau hyn oddiar y ffordd; ac fel y byddai y dyfrlle (*channel*) yn yr hwn y byddai i'r oll o lifeiriant goludog trugaredd achubol lifo yn rhydd, ac yn rhad, i'r dyben o fywhau, glanhau, ffrwythloni, a pherffeithio pechaduriaid colledig o ddynolryw, oedd dan rwymau marwolaeth a melldith, trwy doriad y cyfammod gan yr Adda cyntaf.

Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd ar y pen hwn, ni a allwn dynu y casgliad hwn, sef, mai "gwerthfawr yw pryniad eu henaid." Yr oedd iachawdwriaeth pechaduriaid colledig yn waith mwy nâ chreu y byd: fe ddarfu i'r Gair galluog orchymyn, a'r diweddaf hwn a wnaed: eithr nid oedd y cyntaf i gael ei dwyn i ben heb fwy o orchest.

II. *Am y blaid-ymgyfammodol o du y dyn.*

Ni a welsom, fod Duw ei hun, o un tu, yn y cyfammod gras. Yn awr, o'r tu arall, y mae Iesu Grist, Mab Duw, y'nghyd â'i hâd ysbrydol, Heb. ii. 13. "Wele fi a'r plant a roddes Duw i mi:" y

cyntaf, sef Iesu Grist, y blaid oedd yn ymgyfammodi ac yn ymrwymo; y diweddaf, sef yr hâd ysbrydol, y blaid yr oedd ef yn ymgyfammodi ac yn machnio drostynt: rheswm da am ei enw ef, EMMANUEL, "yr hyn o'i gyfieithu yw, Duw gydâ ni," Mat. i. 23.

Y blaid-ymgyfammodol, gan hyny, â Duw, yn y cyfammod gras, yw ein Harglwydd Iesu Grist. Efe yn unig a drefnodd holl leshad dynion yn y cytundeb tragywyddol hwn: oherwydd nid oedd neb o honynt hwy mewn bod pan y gwnaethpwyd ef; a phe buasent, nis gallasent roddi un cynnorthwy.

Yn awr, y mae Iesu Grist, y blaid-ymgyfammodol o du y dyn, yn y cyfammod gras, yn ol ein testunau, i gael ei ystyried yn y mater hwnw fel yr ail, neu yr Adda diweddaf, pen a chynddrychiolwr o hâd, sef dynolryw colledig, y blaid yr oedd yn ymgyfammodi drostynt. Ac yn y modd hyn efe a ymrwymodd i fod yn Gyfryngwr rhwng Duw cyfiawn wedi ei anfoddloni, a dynion wedi troseddu, ac yn euog gerbron Duw: yn yr hwn fater y gosodir un prif wahaniaeth rhwng yr Adda cyntaf a'r Adda diweddaf. "Canys y mae un Cyfryngwr hefyd rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu; yr hwn a'i rhoddes ei hunan yn bridwerth," 1 Tim. ii. 5, 6. Ac felly y cyfammod gras, yr hwn nis gallasai gael ei wneud yn ddigyfrwng â phechaduriaid, a wnaethpwyd â Christ, yr Adda diweddaf, eu pen a'u cynddrychiolwr hwy, gan gyfryngu rhwng Duw a hwy; am hyny y mae yn cael ei alw "IESU Cyfryngwr y testament newydd," at yr hwn yr ydym yn dyfod trwy gredu, Heb. xii. 22, 24.

Nid yw yr enw *Cyfryngwr*, hyd ag yr ydwyf wedi sylwi, yn cael ei roddi i neb arall yn yr ysgrythyr santaidd, oddieithr i Moses, yn Gal. iii. 19. "Y ddeddf—a drefnwyd trwy angelion yn llaw

cyfryngwr." Ac mewn perthynas iddo ef, fel cyfryngwr cysgodol, y mae yn werth sylw, mai nid cenadwr yn unig rhwng Duw ac Israel ydoedd; eithr, y'ngwaith Duw yn adnewyddu ei gyfammod, mewn ffordd o adheddychiad, ar ol tori'r llechau, fe wnaethpwyd y cyfammod âg ef, fel eu pen a'u cynddrychiolwr hwy, Ecs. xxxiv. 27. "Yr Arglwydd hefyd a ddywedodd wrth Moses, Ysgrifena i ti y geiriau hyn: oblegid yn ol y geiriau hyn y gwnaethum gyfammod â thi ac âg Israel." Y mae hyn yn cyfeirio at yr attebiad grasol a wnaed i weddi Moses, yn adn. 9. "Maddeu ein hanwiredd, a'n pechod, a chymmer ni yn etifeddiaeth i ti." Adn. 10. "Yntef (sef yr Arglwydd) a ddywedodd, Wele fi yn gwneuthur cyfammod y'ngŵydd dy holl bobl: gwnaf ryfeddodau," &c. Adn. 28. "Ac efe a ysgrifenodd ar y llechau (sef y rhai newydd) eiriau y cyfammod, sef y deng-air." Yn awr, yr oedd Moses wrtho ei hun gydâ Duw ar y mynydd, dros holl amser yr orchwyliaeth hon: ac ynddi y mae yr Arglwydd yn llafaru am dano ef a'r bobl yn un, yr holl amser.

I'r dyben i egluro yr amcan hwn, mewn perthynas i'r blaid-ymgyfammodol o du y dyn, mi a gaf, yn 1. sicr-brofi fod y cyfammod gras wedi ei wneud â Christ, fel yr Adda diweddaf, pen a chynddrychiolwr o hâd; ac yn 2. dangos paham y gwnaethpwyd ef felly.

Yn gyntaf, Fe ymddengys fod y cyfammod gras, yr ail gyfammod, wedi ei wneud â Christ, fel yr ail, neu yr Adda diweddaf, pen a chynddrychiolwr o hâd, sef ei hâd ysbrydol, oddiwrth yr ystyriaethau canlynol:—

1. Yr oedd cyfammodau, cysgodol o'r cyfammod gras, yn cael eu gwneud, neu eu sefydlu â phersonau yn cynddrychioli eu hâd neillduol.— Yn y dull hwn yr oedd yn y cyfammod cysgodol yn ein testun, y cyfammod brenhinol a wnaed â

Dafydd; cysgod diamheuol o'r cyfammod gras: ynddo ef yr oedd Dafydd yn was i Dduw, a chanddo hâd yn gynnwysedig gydâg ef ynddo, Psal. lxxxix. 3, 4. yr oedd ef yn gysgod ardderchog o Grist, yr hwn sydd gan hyny yn cael ei alw yn Ddafydd, Hos. iii. 5. "Wedi hyny y dychwel meibion Israel, ac y ceisiant yr Arglwydd eu Duw, a Dafydd eu brenin." Ac y mae bendithion y cyfammod gras yn cael eu galw yn "sicr drugareddau Dafydd," Esay lv. 3. Yn y dull hwn yr oedd hefyd yn "nghyfammod y dydd a'r nos," (Jer. xxxiii. 20.) a sefydlwyd â Noah a'i feibion, cynddrychiolwyr eu hâd, y byd newydd, Gen. ix. 9. "Wele myfi, ie myfi, ydwyf yn cadarnhau fy nghyfammod â chwi, ac â'ch hâd ar eich ol chwi." Ac y mae bod y cyfammod hwn yn gysgod o'r cyfammod gras, yn ymddangos trwy iddo gael ei wneuthur trwy aberth, Gen. viii. 20, 21, 22. Ac oddiwrth arwydd y cyfammod, sef y bwa, Gen. ix. 13. yr hwn sydd "oddiamgylch yr orseddfainc," Dat. iv. 3. eithr, yn neillduol oddiwrth natur ac arwyddocâd y cyfammod hwn, sef na byddai diluw mwy, Gen. ix. 11. sylwedd yr hyn sydd yn cael ei egluro yn amlwg yn Esay liv. 9. "Megis y tyngais nad elai dyfroedd Noah mwy dros y ddaear; felly y tyngais na ddigiwn wrthyt, ac na'th geryddwn." Adn. 10. "Canys y mynyddoedd a giliant, a'r bryniau a symudant; eithr fy nhrugaredd ni chilia oddiwrthyt, a chyfammod fy hedd ni syfl, medd yr Arglwydd, sydd yn trugarhau wrthyt." O'r un natur hefyd yr oedd y cyfammod am wlad Canaan, a wnaethpwyd âg Abraham yn cynddrychioli ei hâd, Gen. xv. 18. ac a gadarnhawyd ar ol hyny trwy lw, Gen. xxii. 16, 17. Yn yr hyn beth oll, yr oedd efe yn gysgod enwog o Grist, y gwir Abraham, Tad y dorf o ffyddloniaid; yr hwn, ar alwad y Tad, a ymadawodd â'r nef, ei wlad briodor, ac a ddaeth i ymdeithio y'mhlith achau melldigedig dynolryw,

ac yno efe a offrymodd ei gnawd a'i waed ei hun yn aberth i Dduw, ac felly efe a ddaeth yn wir "etifedd o'r byd," ac a dderbyniodd yr addewidion i'w hâd ysbrydol; y sylwedd o hyn yw'r hyn a adroddir gan Zacharias, wrth roddi hanes cyfammod Abraham, Luc i. 72--75. "I gofio ei santaidd gyfammod, y llw a dyngodd efe wrth ein tad Abraham; ar roddi i ni, wedi ein rhyddhau o law ein gelynion, ei wasanaethu ef yn ddiofn, mewn santeiddrwydd a chyfiawnder ger ei fron ef, boll ddyddiau ein bywyd." Ac yn ddiweddaf, fel hyn yr oedd y'nghyfammod yr offeiriadaeth dragywyddol, a wnaethpwyd â Phinees; cysgod arall o'r cyfammod gras. Ynddo yr oedd Phinees yn sefyll yn gynddrychiolwr o'i hâd, Num. xxv. 13. "A bydd iddo ef, ac i'w hâd ar ei ol ef, ammod o offeiriadaeth dragywyddol; am iddo eiddigeddu dros ei Dduw, a gwneuthur cymmod dros feibion Israel." Ac yn hyny efe a fu yn gysgod o Iesu Grist, yn cynddrychioli ei hâd ysbrydol yn y cyfammod gras: o herwydd y mae yn amlwg, mai yn Nghrist, yr hwn a wnaeth y cymmod mawr dros bechaduriaid, y mae yr offeiriadaeth dragywyddol a addawyd i Phinees yn cael ei llawn gyflawniad, a'i hâd ysbrydol yn cyfranogi o'r unrhyw ynddo ef, yn ol Psal cx. 4. "Ti wyt offeiriad yn dragywyddol." Dat. i. 6. "Ac a'n gwnaeth ni yn frenhinoedd ac yn offeiriaid i Dduw a'i Dad ef."

Yn awr, yn gymmaint a bod y cyfammodau cysgodol hyn wedi eu gwneuthur, neu eu sefydlu â phersonau, yn sefyll ynddynt fel personau cyffredin, blaenoriaid, a chynddrychiolwyr o'u hâd; y mae yn canlyn yn naturiol, fod y cyfammod gras, yr hwn a gysgodwyd ganddynt hwy, wedi cael ei wneuthur â Christ fel pen a chynddrychiolwr o'i hâd ysbrydol: o herwydd pa beth bynag a briodolir i unrhyw berson, neu beth, fel cysgod, y mae y cyflawniad o hono yn wirioneddol ac yn benaf yn y person, neu y peth a gysgodir.

2. Y mae ein Harglwydd Iesu Grist, yn ol ymadroddiad yr Ysbryd Glân, yn Adda diweddaf; nis gall yr achos o hyn fod yn deillio oddiwrth iddo ef gyfranogi o'r un natur a'r Adda cyntaf; o herwydd fe gyfranogodd holl ddynolryw o hyny: eithr oddiwrth eu swyddau cyffredinol o benogaeth ammodol, a chynddrychiad, yn eu cyfammodau neillduol, mewn perthynas i dragywyddol ddedwyddwch dynolryw; yr hyn a berthyn yn neillduol i Adda a'r dyn Crist. Mewn cyfattebiad i hyn, y gelwir Adda y *dyn cyntaf*, a Christ yr *ail ddyn*, 1 Cor. xv. 47. Eithr nid yw Crist mewn un modd arall yn ail ddyn, ond fel y mae ef yn ben cyfammodol, neu y cynddrychiolwr yn yr ail gyfammod; megis yr oedd Adda yn ben cyfammodol, neu y cynddrychiolwr yn y cyfammod cyntaf. Yn gydunol â'r hyn y mae'r apostol yn arddangos Adda megis pen y dynion daearol, a Christ megis pen y dynion nefol, adn. 48. y rhai blaenaf yw y rhai hyny oll sydd yn dwyn delw Adda, sef ei holl hâd naturiol ef; y rhai diweddaf yw y rhai sydd yn cyfranogi o ddelw Crist, sef ei hâd ysbrydol ef, adn. 49. Y mae hyn oll yn cael ei gadarnhau oddiwrth fod Adda yn ddelw, neu gysgod o Grist, yr hyn y mae yr apostol yn ei eglur gadarnhau, Rhuf. v. 14. a hyny oddiwrth y cyfattebiad y mae yn ei dynu oddiwrth y ddau, sef megis ag y daeth pechod a marwolaeth trwy i Adda dori'r cyfammod, ar ei holl hâd ef; felly trwy i Grist gadw'r cyfammod, fe ddaeth cyfiawnder a bywyd i'r oll sydd yn eiddo ef, adn. 17, 18, 19. O herwydd paham, megis y gwnaethpwyd y cyfammod cyntaf âg Adda, megis pen a chynddrychiolwr o'i hâd naturiol; felly y gwnaethpwyd yr ail gyfammod â Christ, fel pen a chynddrychiolwr o'i hâd ysbrydol.

3. Megis y galwyd y dyn cyntaf yn Adda, hyny yw, *dyn;* gan ei fod ef y pen a'r cynddrychiolwr o ddynolryw, y person yn yr hwn yr ymdriniodd

Duw â'r oll o ddynion, ei hâd naturiol ef yn y cyfammod cyntaf: ac ar y llaw arall, y mae yr oll o ddynion ynddo ef, yn cael eu cynddrychioli ganddo ef, yn iaith yr Ysbryd Glân, yn myned dan yr enw Adda, Psal. xxxix. 5, 11. "Gwagedd yn ddiau yw pob dyn," (yn y iaith wreiddiol, "yr oll o Adda:") felly y mae Crist yn dwyn enw ei hâd ysbrydol, a hwythau ar y llaw arall yn dwyn ei enw yntef; tystiolaeth eglur o'u bod yn un yn ngolwg y gyfraith, ac o waith Duw yn ymdrin âg ef fel eu cynddrychiolwr hwy yn yr ail gyfammod. Israel yw enw yr hâd ysbrydol, Rhuf. ix. 6. Ac y mae ein Harglwydd Iesu Grist yn cael ei alw wrth yr un enw, Esay xlix. 3. "Fy ngwas i ydwyt ti, Israel, yr hwn yr ymogoneddaf ynot;" megis y mae amryw o esponwyr dysgedig a synwyrol yn deall y lle; ac y mae yn amlwg iawn oddiwrth yr oll o'r cydwersi, adn. 1, 2, 4—9. Y gwirionedd yw, y mae Crist yma yn cael ei alw felly gydâ difrifwch neillduol: o herwydd y mae'r testun yn y iaith wreiddiol yn bendant yn y modd hyn: Fy ngwas i ydwyt ti; Israel, yn yr hwn y gogoneddaf fy hun: hyny yw, ti yw cynddrychiolwr Israel, yn yr hwn y gogoneddaf fy hun, ac y gwnaf fy holl briodoliaethau yn ardderchog; megis y dianrhydeddwyd fi, ac y tywyllwyd hwynt, gan Israel, y corff casgledig o'r hâd ysbrydol. Ac y mae hyn yn ein harwain at ddeongliad naturiol a diorchest o'r ymadrodd hwnw, Psal. xxiv. 6. "Dyma genedlaeth y rhai a'i ceisiant ef, y rhai a geisiant dy wyneb di, O Jacob;" hyny yw, mewn geiriau ereill, 'sydd yn hiraethu (Diar. viii. 35. Gen. xxxii. 30.) am ymddangosiad y Messiah, yr Arglwydd, yr hwn yr oedd eglwys yr Hen Destament yn ymofyn felly am dano; gwystl o'i ddyfodiad ef i'w deml, (Mal. iii. 1.) oedd dwyn i mewn yr arch i'r babell yr hon a adeiladodd Dafydd iddi; ar yr hwn achlysur y cyfansoddwyd y psalm hòno. Yn gydunol â hyn y

canlyn yn ddioed, adn. 7. "O byrth, dyrchefwch eich penau; ac ymddyrchefwch, ddrysau tragywyddol; a Brenin y gogoniant a ddaw i mewn." Ac mewn psalm arall, a gyfansoddwyd ar yr un achlysur, ac y dywedir yn bendant iddi "gael ei rhoddi yn y dydd hwnw yn llaw Asaph," yn 1 Cron. xvi. 1, 7. y caer yr ymadrodd hwn, adn. 11. "Ceisiwch ei wyneb ef yn wastadol;" yr hyn sydd i'w ddeongli yn gyfiawn, yn gydunol âg amgylchiad y peth penaf oedd y'ngolwg Dafydd trwy'r Ysbryd ar y dydd hwnw, sef dyfodiad y Messiah. Yn y modd hyn, y mae Crist yn dwyn enw ei hâd ysbrydol: ac y maent hwy, ar y llaw arall, yn dwyn ei enw yntef hefyd. 1 Cor. xii. 12. "Canys fel y mae'r corff yn un, ac iddo aelodau lawer, a holl aelodau'r un corff, cyd byddont lawer, ydynt un corff; felly y mae Crist hefyd."

4. Fe wnaethpwyd yr addewidion i Grist fel yr ail Adda, y pen a'r cynddrychiolwr o'i hâd, Gal. iii. 16. "I Abraham y gwnaethpwyd yr addewidion, ac i'w hâd ef. Nid yw yn dywedyd, Ac i'w hadau, megis am lawer; ond megis am un, Ac i'th hâd di, yr hwn yw Crist." Yr ydwyf yn addef, mai yr hyn a olygir yma, yn yr un modd a'r testun a gyflawnwyd o'r blaen, yw Crist yn gyfriniol, *(mystical,)* y pen a'r aelodau; iddynt hwy y dywedir yma fod yr addewidion wedi eu gwneuthur: eithr yn gyntaf i'r pen, yn ail i'r aelodau ynddo ef; yn yr un fath ag yr oedd yr addewid o fywyd, yn y cyfammod cyntaf, wedi ei wneud y'mlaenaf i Adda fel y pen, ac yn ail i'w holl hâd naturiol ynddo ef. Yn yr un fath yr oedd yn y cyfammod cysgodol âg Abraham, yr oedd yr addewid o'r etifeddiaeth ddaearol yn cael ei gwneud yn gyntaf i Abraham, ac yn ail i'w holl hâd naturiol ynddo ef. Ac yn yr un modd, y mae yr addewid o'r etifeddiaeth dragywyddol a wnaethpwyd i Grist yn sefyll, Tit. i. 2. "I obaith bywyd tragywyddol, yr hon a addawodd y digelwyddog

Dduw cyn dechreu y byd;" pan nad oedd neb mewn bod personol i wneud yr addewid iddo ond Crist. Yn yr un modd, fe ddywedir fod y cyfammod wedi ei wneuthur â thŷ Israel, hyny yw, yr Israel ysbrydol; etto y mae yr addewid o hono yn cael ei chyfeirio, nid iddynt hwy, eithr i berson arall, Heb. viii. 10. "Ac mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant i minnau yn bobl." Y mae yr achos o hyn yn ymddangos yn amlwg, y'ngwaith yr addewidion yn cael eu gwneuthur i Grist, fel eu pen a'u cynddrychiolwr hwy. Yn awr, yn gymmaint a bod yr addewidion hyn yn perthyn i'r cyfammod gras, yr hwn am hyny a elwir "ammod yr addewid," Eph. ii. 12. y mae yn amlwg, os gwnaethpwyd hwynt i Grist, megis pen a chynddrychiolwr o hâd, i'r cyfammod gras gael ei wneuthur âg ef fel y cyfryw; ac efe, i'r hwn y gwnaethpwyd hwynt yn wreiddiol, yn sicr yw y blaid-gyfammodol yn y cyfammod.

Yn ddiweddaf, Y mae'r penogaeth cyfammodol hwn o eiddo Crist, a'i waith yn cynddrychioli ei hâd ysbrydol yn y cyfammod gras, yn ymddangos oddiwrth ei fachniaeth ef yn y cyfammod hwnw, "y testament gwell, ar yr hwn y gwnaethpwyd Iesu yn fachniydd," Heb. vii. 22. Yn awr, efe a ddaeth yn fachniydd drostynt hwy, yn y ffordd o roddi iawn am eu dyled hwy o gosp ac ufudd-dod; a hyny, trwy gymmeryd yr oll o'r baich arno ei hun, megis dros bersonau cyfangwbl analluog i atteb drostynt eu hunain. Fe ddaw hyn yn y ffordd i'w egluro yn ol llaw. Ar yr un amser, y mae y fath fachniydd yn wirioneddol gynddrychiolwr o'r blaid y mae yn fachniydd drostynt, ac yn un person â hwynt y'ngolwg y gyfraith. Yn yr olwg ar hyn, y dywedir, nid yn unig fod Crist wedi ei wneuthur "yn bechod drosom ni," 2 Cor. v. 21. a bod "yr Arglwydd wedi rhoddi arno ef ein hanwireddau ni i gyd," Esay liii. 6. ac iddo "farw drosom ni," Rhuf. v. 8. eithr dywedir hefyd ein

bod ni wedi ein "croeshoelio gydâ Christ," Gal. ii. 20. a'n gwneud "yn gyfiawnder Duw ynddo ef," 2 Cor. v. 21 ie, wedi ein "cyd-gyfodi, a'n gosod i gyd-eistedd yn y nefolion leoedd yn Nghrist Iesu," Eph. ii. 6. a'u "gwneuthur yn fyw y'Nghrist, megis y buom feirw yn Adda," 1 Cor. xv. 22. Y mae hyn oll yn gofyn am ei benogaeth a'i gynddrychioliad ef, o angenrheidrwydd yn y cyfammod.

Ac yn y modd hyn, y mae yn ymddangos, i'r ail gyfammod gael ei wneuthur â Christ, megis yr ail; neu yr Adda diweddaf, pen a chynddrychiolwr o'i hâd ysbrydol.

Yn ail, Yr ydym i ymofyn, paham y darfu i'r ail gyfammod, y cyfammod gras, gael ei wneuthur felly? Ac nyni a roddwn eglurdeb o hyn yn y pethau neillduol canlynol:—

1. Fe wnaethpwyd y cyfammod gras â Christ, fel yr Adda diweddaf, pen a chynddrychiolwr o'i hâd ysbrydol, fel y byddai i anfeidrol gariad gael gollyngfa foreu, sef o dragywyddoldeb. Fe gymmerodd neillduol gariad Duw at yr hâd ysbrydol, ollyngfa yn y cyfammod gras; ac y mae y cariad hwnw, a'r cyfammod hwnw, o'r un dragywyddol ddydd-nodiad, (*date:*) megis yr oedd y cariad yn dragywyddol, Jer. xxxi. 3. felly yr oedd y cyfammod, Heb. xiii. 20. Tit. i. 2. Eithr, gan nad yw yr hâd ond megis er doe, y mae yn rhaid fod y cyfammod gras fel y cyfammod gweithredoedd, yn gyfammod er doe, yn gyfammod mewn amser; os na wnaethpwyd ef â Christ fel eu cynddrychiolwr hwy; nis gallasai mewn un modd arall fod yn gyfammod tragywyddol. Nis gallasai yr addewid o fywyd tragywyddol, yr hon yn ddiamheuol yw addewid o'r cyfammod gras, mewn un modd arall fod o ddydd-nodiad mor hen a chyn dechreu y byd, megis y mae yr apostol yn dywedyd ei bod, Tit. i. 2. Pa fodd y gallasai cyfammod tragywyddol gael ei wneud yn wreiddiol â chreaduriaid amserol, ond yn eu tragywyddol ben a'u cyn-

ddrychiolwr? Neu, pa fodd y gallasai cyfammod tragywyddol gael ei wneud yn bersonol â hwynt, mewn ffordd o gynnhwysiad personol iddynt hwy, pe na buasai er tragywyddoldeb wedi ei wneuthur âg arall fel eu pen a'u cynddrychiolwr hwy? Eithr yn y drefn hon o eiddo anfeidrol ddoethineb, y cymmerodd rhydd gariad ymollyngfa foreu; heb aros wrth ymarllwysiad araf ei wrthddrychau yn ymlusgo allan o groth amser, yn yr hon y mae llawer o honynt yn gorwedd wedi eu plygu i fynu hyd y dydd hwn; eithr megis y mae tywysogion weithiau, trwy ddirprwy, yn priodi tywysogesau ieuainc, cyn y byddont mewn oed i briodi, neu yn addas i roddi eu cydsyniad; felly Duw, yn ei anfeidrol gariad, a briododd âg ef ei hun, yr holl hâd ysbrydol, yn, a thrwy Iesu Grist, megis eu cynddrychiolwr hwy, nid yn unig cyn eu bod hwy yn addas i roddi eu cydsyniad, eithr cyn eu bod oll: yr hyn y maent hwy drachefn yn eu galwedigaeth effeithiol yn ei gymmeradwyo trwy ffydd, ac yn rhoddi eu cydsyniad yn bersonol iddo; ac felly y maent hwy yn meddiannu Duw fel eu Duw hwynt, a Duw yn eu meddiannu hwythau fel ei bobl, Ioan xx. 17. "Yr wyf yn dyrchafu at fy Nhad i a'ch Tad chwithau, a'm Duw i a'ch Duw chwithau."

2. Nis gallasai gael ei wneud un amser mewn un ffordd arall, yn gyfammod ammodol i atteb y dyben o hono. Y dyben mawr o i'r cyfammod hwn gymmeryd lle, yn unig ar doriad y cyfammod cyntaf, oedd, fel y byddai i bechaduriaid meirw gael bywyd trwyddo; fel y sylwyd o'r blaen.— Yn awr, mewn trefn i hyn, yr oedd Duw cyfiawn a santaidd yn sefyll ar ammodau, heb y cyflawniad o'r hyn nid oedd y bywyd hwnw i gael ei roddi: ac yr oeddent yn ammodau uchel, Psal. xl. 6. "Aberth ac offrwm nid ewyllysiaist." 1 Thes. v. 9, 10. "Iesu Grist yr hwn a fu farw drosom, fel y byddem fyw." Eithr pa fodd y gallasai cyfammod ammodol effeithiol am fywyd gael ei wneud

â phechaduriaid meirw, mewn un ffordd arall ond trwy cynddrychiolwr? Nis gall pechaduriaid meirw gyflawni un ammod am fywyd mewn un modd a allo fod yn foddhâol gan Dduw. Y mae yn rhaid iddynt gael bywyd, cyn y gallont wneuthur dim o'r natur hyny, bydded yr ammod mor lleied ag y byddo: gan hyny, nis gallasai cyfammod ammodol am fywyd gael ei wneud â phechaduriaid yn eu personau eu hunain; yn enwedig wrth ystyried, fod yr ammodau am fywyd mor uchel, fel nas gallasai dyn yn ei sefyllfa oreu eu cyflawni hwy. O herwydd paham, os gwnaed y fath gyfammod mewn un modd, yr oedd yn rhaid iddo gael ei wneuthur â Christ fel eu cynddrychiolwr hwy, Rhuf. viii. 3, 4.

3. Fe'i trefnwyd felly, fel y byddai yn gyfammod gras, mewn gwirionedd, i ni bechaduriaid tlodion. Y mae yn amlwg oddiwrth yr ysgrythyrau santaidd, fod y cyfammod hwn wedi ei fwriadu i dderchafu rhydd ras Duw; a'i fod wedi ei lunio felly, fel y byddai yn gyfammod o ras pur, ac nid o weithredoedd mewn perthynas â ni, pa beth bynag oedd mewn perthynas â Christ, Rhuf. iv. 16. "Am hyny o ffydd y mae, fel y byddai yn ol gras." Eph. ii. 9. "Nid o weithredoedd, fel nad ymffrostiai neb." Ac yn y dull hwn, y mae mewn gwirionedd yn gyfammod o ras pur; a phob sail o ymffrost wedi ei gymmeryd ymaith oddiwrthym ni; a'r Arglwydd Iesu Grist ei hun, megis cynddrychiolwr, yr unig oruchwyliwr a'r cyflawnwr o'r ammodau ynddo ef. Eithr nid yw felly, os ydyw wedi ei wneuthur â'r pechadur ei hun, yn sefyll fel prif blaid, yn ammodi â Duw, ac yn ymrwymo ac yn cyflawni'r ammodau yn y cyfammod am fywyd: o herwydd bydded yr ammodau a gyflawnir gan y pechadur yn ei berson ei hun, mor isel ag y gellir meddwl am iddynt fod, y mae addewid y cyfammod yn cael ei gwneuthur iddynt hwy: ac felly, yn ol cyfrifiad yr ysgrythyr, y mae yn gyfammod o weithredoedd, Rhuf. iv. 4.

"Eithr i'r neb sydd yn gweithio, ni chyfrifir y gwobr o ras, ond o ddyled;" ac nid oes un gwahaniaeth rhwng y fath gyfammod a hwn, a chyfammod Adda, ond mewn gradd, yr hyn sydd yn ei adael ef etto o'r un rhyw.

4. Fe gymmerwyd y drefn hon, fel y byddai y cyfranogiad o gyfiawnder a bywyd mewn ffordd gryno, megis y bu y cyfranogiad o bechod a marwolaeth: "Megis trwy anufudd-dod un dyn y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid; felly trwy ufudd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn," Rhuf. v. 19. Gan fod y cyfammod gweithredoedd wedi ei wneuthur âg Adda, fel cynddrychiolwr o'i holl hâd naturiol, ar y toriad o hono, fe gyfranwyd pechod a marwolaeth iddynt hwy oll oddiwrtho ef, fel pen marwol. Gan fod hyn felly, nid oedd yn gydunol â threfn gweithrediad Dwyfol tuag at ddynion, i ymdrin â'r rhai hyny oedd wedi eu harfaethu i iachawdwriaeth, ar wahan, megis prif bersonau, pob un yn ammodi drosto ei hun, mewn cyfammod newydd am fywyd; eithr i ymdrin drostynt oll âg un person cyhoedd, yr hwn, trwy ei waith yn cyflawni y cyfammod, a fyddai yn ben bywiol iddynt hwy, o'r hwn y byddai i fywyd ddeillio iddynt hwy, mewn ffordd mor gryno ag yr oedd angeu o'r Adda cyntaf. O herwydd y mae ei drugaredd uwchlaw ei holl weithredoedd ereill.

Yn ddiweddaf, Fe wnaethpwyd y cyfammod gras, fel y byddai yn gyfammod sicr; ie, "fel y byddai'r addewid yn sicr i'r holl hâd," Rhuf. iv. 16. Fe wnaethpwyd y cyfammod cyntaf â chreadur yn unig, fel prif blaid, a chyfammodwr: ac er ei fod yn ddyn cyfiawn a santaidd; etto yr oedd ef yn anwadal ac yn ansefydlog, fel y methodd gyflawni yr ammodau yr ymrwymodd iddynt: ac felly fe gollwyd budd yr addewid; am ba achos, nid oedd dynion syrthiedig yn addas i fod mewn un modd yn brif blaid, neu blaid-ymgyfammodol, yn y cyfammod newydd, yn yr hwn yr oedd yr addewid i fod yn sicr, ac nid i fethu yn y cyf-

Iawniad o honi. A hwynt gan hyny yn blaid hollol doredig, fel nas gallasid ymddiried iddynt yn y mater, fe osodwyd Iesu Grist, Mab Duw, yn ben y cyfammod newydd, i weithredu dros, ac yn enw ei hâd ysbrydol: a hyny, i'r dyben o i'r cyfammod fod yn y modd hyn yn sicr, yn y pwnc o gyflawni'r ammod, fel y gallai hefyd fod yn sicr yn y pwnc o gyflawni'r addewid. A hyn yw unig rwymyn sicrwydd y cyfammod gras, yn ol yr ysgrythyr: Psal. lxxxix. 28. "Cadwaf iddo fy nhrugaredd yn dragywydd; a'm cyfammod fydd sicr iddo." Adn. 22. "Ni orthryma y gelyn ef:" neu, megis y mae ereill yn ei ddarllen, ac yn gywir yn ol fy meddwl i, Ni huda y gelyn ef; sef, fel yr hudodd yr Adda cyntaf. Y mae yr ymadroddiad gwreiddiol yn ddiffygiol, hyny yw, "Ni huda y gelyn (*ei enaid*, Jer. xxxvii. 9.) ynddo ef."

Cyn y gadawyf y pwnc hwn, mi gynnygaf y casgliadau canlynol oddiwrtho ef:—

*Casg*. 1. Nid yw cyfammod y prynedigaeth a'r cyfammod gras yn ddau wahanol gyfammod, eithr un a'r unrhyw gyfammod. Myfi a wn fod amryw o dduwinyddion yn egluro eu hunain yn wahanol yn y mater hwn; a hyny ar olygiadau cwbl wahanol, rhai o ba rai nid ydynt mewn un modd yn niweidiol i'r athrawiaeth o rydd ras. Eithr yr ydwyf yn derbyn hwn yn wirionedd ysgrythyrol, ac yn arluniad naturiol o'r hanes a roddir o'r cyfammod gras yn ein hegwyddor-lith (*catechism*) helaethaf, sef, bod y cyfammod gras wedi ei wneuthur â Christ, fel yr ail Adda, ac ynddo ef â'r holl etholedigion, megis ei hâd ef, Gal. iii. 16. Yn awr, "i Abraham y gwnaethpwyd yr addewidion, ac i'w hâd ef. Nid yw yn dywedyd, Ac i'w hadau, megis am lawer; ond megis am un, Ac i'th hâd di, yr hwn yw Crist." Rhuf. v. 15. i'r diwedd. Esay liii. 10, 11. "Pan osodo efe ei enaid yn aberth dros bechod, efe a wel ei hâd, efe a estyn ei ddyddiau; ac ewyllys yr Arglwydd a lwydda yn

ei law ef. O lafur ei enaid y gwel, ac y diwellir," &c. Felly nid yw cyfammod y prynedigaeth, a'r cyfammod gras, ond dau enw ar yr un a'r unrhyw ail gyfammod, dan wahanol ystyriaethau. Wrth gyfammod prynedigaeth, y meddylir ammod o brynu a gwerthu; ac i Grist yn unig yr oedd ef yn gyfammod felly; gan mai efe yn unig a ymrwymodd i dalu pris ein rhyddhad, 1 Pedr i. 18, 19. Wrth gyfammod gras y meddylir cytundeb, trwy yr hwn y mae yr oll i'w gael yn rhad: ac i ni yn unig y mae ef yn gyfammod felly, i ba rai y mae yr oll o hono o rydd ras; Duw ei hun yn parotoi'r iawn, ac oddiar hyny yn cyflwyno bywyd a iachawdwriaeth i ni, trwy addewid rydd, heb olygu un gwaith o'n heiddo ni, fel y sylfaen o'n hawl ni i hyny.

I gadarnhau hyn, ystyriwn, 1. Nad oes, yn ol cyfrif yr ysgrythyr, ond dau gyfammod am fywyd, a hapusrwydd i ddyn, o ba rai y mae y cyfammod gweithredoedd yn un: Gal. iv. 24. "Y rhai hyn yw y ddau destament; un yn ddiau o fynydd Sinai, yn cenedlu i gaethiwed," sef caeth-blant wedi eu bwrw allan o'r etifeddiaeth, adn. 30. Dyma wahaniaethol gymmeriad y cyfammod gweithredoedd; canys y mae y cyfryw mewn gwirionedd yn blant y cyfammod hwnw, eithr nid yn blant y cyfammod gras, dan un oruchwyliaeth o hono. Y mae y ddau gyfammod hyn yn cael eu galw, yr hen gyfammod, a'r cyfammod newydd: ac y mae yr hen yn cael ei alw y cyntaf, yr hyn a ddengys fod yr un newydd yr ail: Heb. viii. 13. "Wrth ddywedyd, cyfammod newydd, efe a farnodd y cyntaf yn hen." Y mae hyn yn gyfattebol â'r ddwy ffordd i fywyd, a ddatguddir yn yr ysgrythyr; y naill trwy weithredoedd, a'r llall trwy ras, Rhuf. xi. 6. Y mae y naill yn cael ei galw y gyfraith, a'r llall gras, Rhuf. vi. 14. Y blaenaf yw cyfammod y ddeddf â'r Adda cyntaf, yn cynddrychioli ei holl hâd naturiol; yr hwn a wnaethpwyd yn gyntaf yn mharadwys, ac ar ol hyny a adnewydd-

wyd ar fynydd Sinai, gydâ'r cyfammod gras: y diweddaf yw y cyfammod gras, yr hwn a wnaethpwyd â'r ail Adda, yn cynddrychioli ei hâd ysbrydol, 1 Cor xv. 47. 48. 2. Y mae yn amlwg fod iachawdwriaeth pechaduriaid trwy waed y cyfammod, yr hwn yw gwaed Crist, Heb. x. 29. 1 Cor. xi. 25. Ac y mae yr ysgrythyr yn crybwyll am waed y cyfammod bedair gwaith; eithr nid yw yn son am waed y cyfammodau: gan hyny nid yw y cyfammod, gwaed yr hwn y mae'r ysgrythyr yn son am dano, a'n hiachawdwriaeth ni yn ymddybenu arno, ond un cyfammod, ac nid dau. Yn awr, cyfammod Crist yw y cyfammod hwnw, neu gyfammod y prynedigaeth: o herwydd "trwy waed y cyfammod y dygwyd ef drachefn oddiwrth y meirw;" sef, trwy allu yr addewid a wnaethpwyd yn y cyfammod, i gael ei chyflawni ar ei waith ef yn cyflawni yr ammod o hono, Heb. xiii. 20. Ac y mae hefyd yn gyfammod ei bobl ef, neu y cyfammod gras, Ecs. xxiv. 8. "Wele, waed y cyfammod, yr hwn a wnaeth yr Arglwydd â chwi." Y mae yn bendant yn cael ei alw eu cyfammod hwy, Zech. ix. 11. "A thithau, trwy waed dy ammod y gollyngais dy garcharorion o'r pydew heb ddwfr ynddo." Y mae bod y geiriau-sydd yn nodi allan y blaid y llafarir wrthynt, o'r rhyw fenywaidd yn y iaith gyntaf, yn ei wneud yn amlwg mai nid at Grist y cyfeirir hyn, eithr i'r eglwys: felly y mae y cyfammod yn cael ei osod allan fel eu cyfammod hwy. Ac y mae'r carcharorion ysbrydol yn cael eu rhyddhau trwy rinwedd y cyfammod hwn o'u heiddo, yr hwn a raid fod yn ddiau y cyfammod gras. Wrth yr hyn oll yr ymddengys, fod y cyfammod gras, yr un a'r unrhyw gyfammod ag a wnaethpwyd â Christ, ac yn cael ei alw yn gyfammod y prynedigaeth fel y mae yn perthyn iddo ef.

*Casg.* 2. Megis y darfu i holl ddynolryw bechu yn Adda, felly y darfu i'r credinwyr ufuddhau a dyoddef yn Nghrist yr ail Adda. O herwydd,

megis trwy i'r cyfammod gweithredoedd gael ei wneuthur âg Adda, fel person cyhoedd, a chynddrychiolwr, y pechodd pawb ynddo ef, pan y torodd ef y cyfammod hwnw; felly trwy i'r cyfammod gras gael ei wneuthur â Christ, fel person cyhoedd a chynddrychiolwr, fe ddarfu i'r oll o'r credinwyr ufuddhau a dyoddef ynddo ef, pan ddarfu iddo ef felly gyflawni y cyfammod hwn. Hyn yw athrawiaeth yr apostol, Rhuf. v. 19. "Oblegid megis trwy anufudd-dod un dyn y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid; felly trwy ufudd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn." Rhuf. viii. 3, 4. "Duw a ddanfonodd ei Fab ei hun yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, ac am bechod a gondemniodd bechod yn y cnawd; fel y cyflawnid cyfiawnder y ddeddf ynom ni." 2 Cor. v. 21. "Fel y'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef." Gal. ii. 20. "Mi a groeshoeliwyd gydâ Christ." Ac y mae hyn yn cynnwys modd i'r credinwyr i roddi atteb cyflawn i ofynion y ddeddf, o ufudd-dod a dyoddefaint, am fywyd a iachawdwriaeth.

*Casg.* 3. Y mae credinwyr yn cael eu cyfiawnhau yn ddiaros, trwy gyfiawnder Crist, heb un cyfiawnder o'u gweithrediad hwynt yn cael ei ddwyn i mewn yn y gorchwyl: yn yr un modd ag y mae yr oll o ddynion yn cael eu heuog-farnu trwy bechod Adda, cyn gwneuthur o honynt na da na drwg yn eu personau eu hunain: Rhuf. v. 18. "Megis trwy gamwedd un y daeth barn ar bob dyn i gondemniad; felly hefyd trwy gyfiawnder un y daeth y dawn ar bob dyn i gyfiawnhad bywyd." Ac yn y modd hyn y mae credinwyr yn gyfiawn gerbron Duw, trwy yr un cyfiawnder ag a weithredwyd gan Iesu Grist yn y cyflawniad o'r cyfammod hwn. Yr hwn gyfiawnder nis cyfrifir iddynt yn ei effeithiau yn unig, fel y byddai i'w ffydd, a'u hedifeirwch, a'u hufudd-dod diragrith, o herwydd hyny fod yn dderbyniol, fel eu cyfiawnder efengylaidd hwynt, ar ba un y byddai iddynt

gael eu cyfiawnhau: eithr y mae yn cael ei gyfrif iddynt ynddo ei hun, yn yr un modd ag y cyfrifwyd pechod Adda.

*Casg.* 4. Y mae y cyfammod gras yn hollol, ac nid yn ammodol i ni. O herwydd trwy iddo gael ei wneuthur â Christ, fel cynddrychiolwr o'i hâd, yr oedd yr oll o'i ammodau ef yn cael eu gosod arno ef, ac yn cael eu cyflawni ganddo ef. Gan hyny yr oll y sydd yn ol o hono i'w gyflawni, yw'r cyflawniad o'r addewid iddo ef, ac i'w hâd ysbrydol: yn yr un modd ag y buasai yn achos y cyfammod cyntaf, pe un waith y gwnaethai yr Adda cyntaf gyflawni ei ammodau ef.

*Casg.* 5. Y mae'r cyfammod gras yn ddyfais o anfeidrol ddoethineb a chariad, yn deilwng o gael ei chofleidio gan bechaduriaid tlodion, "fel wedi ei lluniaethu yn hollol ac yn sicr," 2 Sam. xxiii. 5. O ryfeddol ddyfais er cynnorthwy i gyflwr diobaith! Rhyfeddol ddyfais o gyfammod Duw, â hwy y rhai oedd yn analluog i sefyll yn mhresenoldeb ei santeiddrwydd ef, neu i gyflawni yr ammod lleiaf am fywyd a iachawdwriaeth! Cytundeb newydd am ryddhad pechaduriaid wedi eu colli, yn cael ei wneuthur ar yr ammodau uwchaf, â'r rhai hyny nad oedd yn alluog i ddyfod i fynu â'r ammodau iselaf! Anfeidrol ddoethineb a gafodd allan y ffordd, sef trwy gynddrychiolwr. Fe ddarfu i gariad y Tad ei osod ef ar waith i gynnyg y cynddrychioliad; fe ddarfu i gariad y Mab ei osod yntef ar waith i dderbyn y cynddrychioliad. Fel hyn, fe gafodd Duw un â'r hwn y gallai ammodi, yn unol â diogelwch ei anrhydedd; yr hwn oedd yn alluog i gyflawni y cyfammod, er adgyweiriad i'r sarhad oedd wedi ei roddi i'w ogoniant ef: ac fe gafodd pechaduriaid hefyd un galluog i weithredu drostynt hwy, ac i bwrcasu iachawdwriaeth iddynt oddiar law Duw cyfiawn a santaidd. Felly fe wnaethpwyd cyfammod sicr, a gosodwyd sylfaen gadarn, ar yr hon y gosododd Duw bwys ei anrhydedd, ac ar yr hon y gall pechaduriaid mewn

modd diogel osod eu holl bwys. "Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Wele fi yn sylfaenu yn Sion—sylfaen safadwy; ni frysia yr hwn a gredo," Esay xxviii. 16. "Ni chywilyddir," Rhuf. ix. 33.

Yn olaf, Y ffordd i fyned i mewn yn bersonol i'r cyfammod gras, fel y gellir meddiannu o'r budd cynnwysedig ynddo er iachawdwriaeth, yw trwy ymuno â Christ, pen y cyfammod, trwy ffydd. Trwy fod fel hyn yn impiedig ynddo ef, fe geir cyfranogi o'r oll o'r hapusrwydd hyny sydd wedi ei ddiogelu i Grist yn gyfriniol yn y cyfammod tragywyddol: yn yr un modd a thrwy eich dyfodiad yn blant i Adda, trwy genedliad naturiol, yr ydych yn bersonol wedi myned i mewn i'r cyfammod cyntaf; felly megis ag i syrthio dan y pechod a'r farwolaeth a ddaeth ar bob dyn trwy'r toriad o hono, Rhuf. v. 12.

### III. *Am y blaid yr ymrwymwyd ac yr ammodwyd drostynt.*

Megis yr oedd y blaid-ymgyfammodol a'r ymrwymwr o du y dyn, yn y cyfammod gras, yn gynddrychiolwr; felly yr oedd y blaid yr ymgyfammododd ac yr ymrwymodd drostynt, yn cael eu cynddrychioli ganddo ef. Ac y mae bod y ddau hyn, sef, y cynddrychiolwr, a'r rhai yr ammoda efe drostynt, o'r un cydradd eangder, yn amlwg oddiwrth natur y peth: o herwydd, y rhai hyny y byddo un yn eu cynddrychioli mewn cyfammod, y mae efe yn ammodi drostynt yn y cyfammod hwnw, a'r rhai hyny dros ba rai y mae un yn ammodi mewn cyfammod, yn cael ei wneuthur âg ef fel cynddrychiolwr, y maent yn cael eu cynddrychioli ganddo ef yn y cyfammod hwnw. Fel hyn yr oedd yn nghyfammod yr Adda cyntaf, yr hwn oedd gysgod o Grist, pen yr ail gyfammod. Ynddo ef, y rhai hyny yr oedd Adda yn ammodi drostynt, yr oedd yn eu cynddrychioli; a'r rhai yr oedd yn eu cynddrychioli, yr oedd yn ammodi,

drostynt: yr oedd yn cynddrychioli ei hâd naturiol yn unig, a throstynt hwy yn unig yr ammododd efe: gan hyny, y rhai hyny y darfu i'r ail Adda ammodi drostynt, a gynddrychiolodd efe; a'r rhai a gynddrychiolodd, y rhai hyny yr ammododd efe drostynt.

Yn awr, y blaid a gynddrychiolwyd ac yr am-ammodwyd drostynt, gan ein Harglwydd Iesu Grist, yn y cyfammod gras, oedd yr etholedigion o ddynolryw; sef, rhifedi neillduol o ddynolryw, wedi eu dewis er tragywyddoldeb i fywyd tragywyddol; "Plant yn cyfranogi o gig a gwaed, yr hyn a roddodd Duw i Grist," Heb. ii. 13, 14. Efe a safodd yn eu person hwy, gan wneuthur y cyfammod hwn â'i Dad: efe a weithredodd yn eu henw hwy, gan daro y cytundeb hwn â'i Dad fel machniydd, i ufuddhau i'r gyfraith, a boddloni cyfiawnder.

Ac yn y lle cyntaf, mi a gaf gadarnhau hyn; ac yna, i ymofyn pa fodd yr oedd yr etholedigion yn cael eu hystyried yn y cyfammod hwn, a'r ammodol gynddrycholiad.

Yn gyntaf, y mae yn ymddangos oddiwrth y seiliau canlynol, mai yr etholedigion oedd y blaid a gynddrychiolwyd, ac yr ammodwyd, ac yr ymrwymwyd drostynt, yn y cyfammod gras.

1. Y mae y blaid â'r hwn y gwnaethpwyd y cyfammod, yn y testun, yn cael ei alw yn etholedig Duw; megis yn cynddrychioli ac yn ammodi dros yr oll o'r rhai dewisedig, neu etholedig: yn yr un modd ag y galwyd y dyn cyntaf yn Adda, neu y dyn, fel yn cynddrychioli ac yn ammodi dros holl ddynolryw, yn ei gyfammod ef. O herwydd, megis y mae'r apostol yn dangos, Heb. ii. 11. "O'r un y maent oll;" nid yn unig o'r un natur, eithr hefyd o'r un corff, sef yr etholiad: Crist yw y pen etholedig, Esay xlii. 1. a hwythau y corff etholedig, Eph. v. 23. Am hyny y maent yn myned dan yr un enw, yr hwn yn benaf a berthyn iddo ef, ac yna iddynt hwythau trwy gyfranogiad gydâg ef. Yn y dull hwn, y mae ef yn cael

ei alw yn hâd Abraham, megis yn cynddrychioli holl hâd ysbrydol Abraham, hyny yw, yr etholedigion, Gal. iii. 16. "Ac i'th hâd di, yr hwn yw Crist;" a hâd y wraig, megis yn wrthwyneb i hâd y sarff: ac y mae yr etholedigion hefyd yn cael eu cynnwys dan yr enw hwnw; hwy, a hwy yn unig yw y blaid y gosododd Duw elyniaeth rhyngddynt a'r sarff, y'nghyd â'i hâd, yn ol yr addewid, Gen. iii. 15.

2. Y rhai hyny y cynddrychiolodd ac yr ammododd Crist drostynt, yn y cyfammod gras, yw y dynion nefol, 1 Cor. xv. 47, 48. "Y dyn cyntaf o'r ddaear yn ddaearol; yr ail ddyn yr Arglwydd o'r nef. Fel y mae y daearol, felly y mae y rhai daearol hefyd; ac fel y mae y nefol, felly y mae y rhai nefol hefyd." Yn awr, nid yw y dynion nefol a berthyn i Grist yr ail ddyn, yn neb arall ond yr etholedigion. O herwydd y maent hwy yn wrthwahanedig i'r dynion daearol, a berthyn i'r dyn cyntaf; sef, holl ddynolryw a gymmerir i mewn i'r cyfammod cyntaf yn Adda: ac wrth hyny y dynion etholedig ydynt hwy, a gymmerir i'r ail gyfammod yn yr ail Adda. Drachefn, y dynion nefol yw y rhai hyny a gânt ddwyn delw y dyn nefol, sef Crist, adn. 49. a'r cyfryw yw yr etholedigion, a hwy yn unig. Ac yn derfynol, y rhai hyny ydynt, i'r rhai y mae Crist, o ran effeithioldeb, yn ysbryd yn bywhau: o herwydd "fel y mae y nefol, felly y mae y rhai nefol hefyd."— Megis y mae effeithioldeb marwol Adda wedi myned mor ëang ag yr aeth ei gynddrychioliad ef yn y cyfammod cyntaf, gan gyrhaedd holl ddynolryw, ei hâd naturiol ef, a hwy yn unig; felly y mae effeithioldeb bywiocâol Crist yn myned mor ëang ag yr aeth ei gynddrychioliad ef yn yr ail gyfammod, yn cyrhaedd yr holl etholedigion, ei hâd ysbrydol ef, a hwy yn unig: a phe nas gwnai, byddai rhai yn cael eu hamddifadu o'r budd, yr hwn a bwrcaswyd, ac y talwyd am dano gan y machniydd yn eu henw hwynt; yr hyn nid yw yn gyson â chyfiawnder Duw.

3. Y rhai hyny y darfu i Grist eu cynddrychioli ac ammodi drostynt, yn y cyfammod, yw ei hâd, ei hâd ysbrydol ef; Gal. iii. 16. "I Abraham y gwnaethpwyd yr addewidion ac i'w hâd ef. Y mae yn dywedyd—Ac i'th hâd di, yr hwn yw Crist." Psal. lxxxix. 3, 4. "Tyngais i'm gwas Dafydd. Yn dragywydd y sicrhaf dy hâd di." Yn y cyfammodau oedd yn cysgodi y cyfammod gras, y pleidiau oedd yn cael eu cynddrychioli, oedd hâd y cynddrychiolwyr yr oedd y cyfammodau yn cael eu gwneuthur â hwy, megis yr eglurwyd o'r blaen: ac y'nghyfammod yr Adda cyntaf, ei hâd naturiol ef oedd y rhai a gynddrychiolwyd. O herwydd paham, ei hâd ysbrydol a gynddrychiolwyd gan yr ail Adda, yn ei gyfammod. Yn awr, hâd ysbrydol Crist yw yr etholedigion, ac nid neb arall. O herwydd hwynt-hwy yw y rhai hyny y mae efe yn eu hennill trwy air y gwirionedd, Iago i. 16. ac a ail enir (1 Pedr i. 23.) iddo ef yn eu hadgenedliad; y rhai gan hyny y mae efe yn eu gweled fel ei hâd, â'i ddelw ei hun arnynt, Esay liii. 10. Hwynt-hwy yw llafur ei enaid ef, y rhai, yn gynnarach neu yn ddiweddarach, i gyd a gânt eu cyfiawnhau, adn. 11. Hwynt-hwy yw yr hâd a'i gwasanaetha ef, Psal. xxii. 30. y rhai a sefydlir, ac a barha yn dragywydd, sef mewn cyflwr o ddedwyddwch, Psal. lxxxix. 4, 29, 36.

Yn olaf, Yr oedd Crist, yn y cyfammod gras, yn gynddrychiolwr Israel, yn ol y testun, yn Esay xlix. 3. "Fy ngwas i ydwyt ti, Israel, yr hwn yr ymogoneddaf ynot." Yn awr, Israel, y corff casgledig, yw yr etholedigion, Rhuf. ix. 6. "Nid Israel yw pawb a'r y sydd o Israel:" gan hyny yr etholedigion oedd y blaid a gynddrychiolwyd ac yr ammodwyd drostynt yn y cyfammod. Felly y mae y rhai hyny a gymmerodd Crist gydâg ef i ysgrif-rwym ei gyfammod, yn cael eu darlunio i fod yn "had Abraham:" Heb. ii. 16. canys mewn gwirionedd "ni chymmerodd efe naturiaeth ang-

elion; eithr hâd Abraham a gymmerodd efe:" neu yn hytrach, fel y darllenir ar ymyl y ddalen yn ein biblau, yn fwy cydunol â'r iaith wreiddiol, Nid yw efe yn cymmeryd gafael ar angelion; eithr yn hâd Abraham y mae efe yn cymmeryd gafael. Y mae'r gair gwreiddiol yn arwyddo, cymmeryd gafael ar beth yn rhedeg ymaith, neu yn syrthio i lawr; ac yn yr un dull o gyfansoddiad y mae yn cael ei ddefnyddio am waith Crist yn cymmeryd gafael yn Pedr, pan yr oedd yn suddo yn y dwfr, Mat. xiv. 31. Yr oedd yr angelion syrthiedig a dynion, ill deuoedd, wedi rhedeg ymaith oddiwrth Dduw, ac yn suddo yn y môr o'i ddigofaint ef: ac y mae Crist, âg ysgrif-rwym y cyfammod, yn cymmeryd gafael ar ddynion; eithr nid ar yr angelion syrthiedig: y mae yn eu gadael hwynt i suddo i'r gwaelod. Yr oedd yr oll o hâd Adda yn suddo, yn yr un modd a hâd Abraham, yr hyn nid yw ond rhan o hâd Adda, sef rhai o holl ddynolryw; eithr ni ddywedir i Grist gymmeryd gafael ar hâd Adda, hyny yw, yr oll o ddynolryw; eithr ar hâd Abraham, hyny yw, yr oll o'r etholedigion, neu yr Israel ysbrydol, a elwir yn dŷ Jacob, Luc i. 33. Yn gydunol â hyn, y mae yn nodadwy, y tro cyntaf y clywyd am y cyfammod gras yn y byd, i'r ymadrodd gael ei gyfeirio at y sarff mewn ffordd o hanes, Gen. iii. 14, 15 nid i Adda, megis yr oedd y cyfammod cyntaf, Gen. ii. 16, 17. fel y byddai i Adda ddeall ei fod ef i ddyfod i mewn yma fel person neillduol yn unig, ac nid fel person cyhoedd y'nghyd â'i hâd. Ac o herwydd yr achos hwn hefyd, nid yw ein Harglwydd Iesu yn cael ei alw yn unig yn Adda, neu ddyn; eithr yr Adda diweddaf, a'r ail ddyn, hâd yr hwn sydd yn gwahaniaethu oddiwrth y dyn cyntaf, megis hâd Abraham oddiwrth hâd Adda: eithr y mae efe yn cael ei alw yn Israel mewn modd unigol, heb un cyfraw mewn un modd; ac fe a nodir yn amlwg mai yr etholedigion yw ei hâd ef, Esay xlv. 25. "Yn yr Arglwydd y cyfiawnheir, ac yr ymogonedda

holl hâd Israel;" yn yr un modd ag y darfu i holl hâd Adda gael eu heuog-farnu yn y dyn cyntaf, Rhuf. v. 18. O herwydd, fel yr oedd y dyn cyntaf yn cael ei alw yn unig Adda, neu ddyn, o herwydd mai efe oedd y crynodeb o holl ddynolryw yn y cyfammod cyntaf; efe oedd yr oll o ddynion yn nghyfrif y gyfraith, trwy eu bod hwy oll yn cael eu cynddrychioli ganddo ef: felly yr oedd Iesu Grist yn grynodeb o holl Israel, hyny yw, yr oll o'r etholedigion; efe oedd yr oll o Israel y'nghyfrif y gyfraith, trwy eu bod hwy oll yn cael eu cynddrychioli ganddo ef. Ac yn y dull hwn yr ydym yn cael y sail wirioneddol o'r cyffredinolrwydd o'r ymadrodd hwnw yn Esay liii. 6. "A'r Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd;" hyny yw, holl Israel, sef yr holl etholedigion. Yr hyn a gadarnhair gan destun cyffelyb i hwn, yn cynnwys y cysgod, o'r hwn y mae hyn yn sylwedd, sef, Lef. xvi. 21. "A gosoded Aaron ei ddwylaw ar ben y bwch byw, a chyffesed arno holl anwiredd meibion Israel, a'u holl gamweddau hwynt yn eu holl bechodau; a rhodded hwynt ar ben y bwch." O herwydd megis yr oedd Israel yn bobl ag oedd yn cael eu dysgu trwy gysgodau, felly yr oeddent hwy eu hunain yn ddiau yn bobl gysgodol.

Yn ail, Yr ydym i ymofyn y'mha ddull yr oedd yr etholedigion yn cael eu hystyried yn y cyfammod hwn a'r ammodol gynddrychioliad. Ac yn hyny y maent yn dyfod dan ystyriaeth driphlyg:

1. Yr oeddent yn cael eu hystyried fel pechaduriaid, yn golledig, yn andwyol, ac wedi darfod am danynt yn Adda; "defaidd colledig tŷ Israel;" Mat. xv. 24. Yn y cyfammod cyntaf yr oedd yr holl dyrfa o ddynolryw wedi eu gosod dan law un bugail, sef Adda; eithr gan ei golli ei hun, efe a gollodd yr holl braidd, ac nis gallodd ennill yn ol gymmaint ag un o honynt byth mwy. Yr oedd Duw, er pob tragywyddoldeb, wedi gosod nod dirgelaidd ar rai o honynt, trwy yr hyn yr oedd yn

eu gwahaniaethu hwynt oddiwrth ereill, 2 Tim. ii. 19. "A chanddo y sêl hon, Yr Arglwydd a edwyn y rhai sydd eiddo ef." Ac efe a'u gwelodd hwynt hefyd, y'mhlith ereill, yn myned ymaith oddiar eu porfa, ac yn crwydro fel rhai diarddel yn myned ar ddisberod, yn ysglyfaeth i bob difrodwr; eithr mewn trefn o iddynt gael eu chwilio allan, a'u dwyn yn ol, a'u cadw mewn diogelwch dros byth, fe a aethpwyd i'r cyfammod newydd tua bugail arall, sef ein Harglwydd Iesu Grist; ac y maent hwy yn cael eu gosod dan ei law ef, fel bugail Israel. Y'nghynddrychioliad Adda, yn y cyfammod gweithredoedd, yr oedd y blaid oedd yn cael eu cynddrychioli yn cael eu hystyried megis yn hâd uniawn, Preg. vii. 29. eithr y'nghynddrychioliad Crist, yn y cyfammod gras, yr oedd y blaid oedd yn cael eu cynddrychioli yn cael eu hystyried megis pentwr llygredig a phechadurus, wedi eu llwytho âg euogrwydd, dan felldith y gyfraith a digofaint Duw. A phwy a fuasai yn cynddrychioli y fath gydres, gan osod ei hun yn eu lle hwynt? Eithr fe ddarfu i rydd gariad osod ein Harglwydd Iesu Grist ar waith i hyn. Felly fe ddarfu i Un santaidd Duw cynddrychioli pechaduriaid gresynol; i Anwylyd y Tad gynddrychioli y gydres felldigedig.

2. Yr oeddent yn cael eu hystyried hefyd megis yn hollol analluog i gynnorthwyo eu hunain, yn gyfan-gwbl nac mewn rhan; megis yn bod yn ddi-allu, Rhuf. v. 6. Yr oeddent yn ddyledwyr, eithr yn hollol analluog i dalu un hadling o'r ddyled: yr oeddent yn droseddwyr, eithr yn hollol analluog i gynnal eu cospedigaeth eu hunain, i foddlonrwydd i gyfiawnder; pe buasai yn gosod arnynt hwy am dalu'r ddyled, neu i gynnal y gospedigaeth, buasai raid iddynt suddo dan y llwyth dros byth. Felly yr oedd yn angenrheidiol iddynt gael un i'w cynddrychioli hwynt, gan gymmeryd y llwyth oddiarnynt hwy oll, arno ei hun.

Yn olaf, Yr oeddent hefyd yn cael eu hystyried

fel gwrthddrychau tragywyddol, pen-arglwyddiaethol, a rhydd gariad, yn cael eu rhoddi i Grist gan y Tad. Fe garodd y Tad hwynt, Ioan xvii. 23. ac am hyny efe a'u rhoddodd hwynt i Grist, adn. 6. Fe garodd y Mab hwynt, Eph. 5. 2. a chan dderbyn y rhodd, efe a'u cynddrychiolodd hwynt yn y cyfammod, megis Tad ei blant ei hun, Esay ix. 6. "A gelwir ei enw ef y Tad tragywyddol." Cymharwch Heb. ii. 13. "Wele fi, a'r plant a roddes Duw i mi." O herwydd y rhydd gariad, a'r unig ewyllys da hwn, y darfu iddynt hwy, ac nid ereill ag oedd dan yr un goll-farnedigaeth, trwy'r toriad o'r cyfammod cyntaf, gael eu cynddrychioli, ac ammodi drostynt gan Iesu Grist yn yr *ail* gyfammod; ac y rhoddwyd eu henwau hwynt yn y cyfammod tragywyddol, pan yr oedd enwau ereill yn cael eu gadael allan. Hwynt-hwy oedd rhai dewisol ei Dad, a'i rai dewisol yntef; felly efe a ddaeth yn gynddrychiolwr iddynt.

Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd mewn perthynas i'r blaid a gynddrychiolwyd ac yr ammodwyd drostynt, mi a allwn wneuthur y casgliadau canlynol:—

*Casg.* 1. Y mae pen-arglwyddiaethol ryddid o gariad Duw yn ymddangos yn yr ail gyfammod, y cyfammod gras. Ac y mae yn ymddangos yn bendifaddeu mewn dau beth: 1. Mewn bod cariad tuag at ddynion syrthiedig, ac nid at angelion syrthiedig, Tit. iii. 5. trwy yr hyn y daeth mai dynion, ac nid diafliaid, y cymmerwyd gafael arnynt, y cynddrychiolwyd, ac yr ammodwyd drostynt gan Iesu Grist yn y cyfammod, Heb. ii. 16. Yn ddiameu efe a allasai ammodi dros y naill yn gystal a thros y llall: eithr fe ddarfu i ben-arglwyddiaeth fyned heibio i angelion syrthiedig, ac ymaflyd mewn dynion; er hyn oll yr oedd yr angelion yn eu natur yn greaduriaid mwy addas ac ardderchog. Eithr yn yr oll o oruchwyliaeth gras, nid oes dim parch i ragoriaeth y creadur: y mae yr oll yn unig o herwydd ewyllys da Duw, yr hwn

"sydd yn trugarhau wrth yr hwn y cymmero drugaredd arno." 2. Y mae yn ymddangos, mewn bod etholedig garu dynion; trwy yr hyn y cymmerodd y peth le mai rhai o ddynion, ac nid yr oll o ddynion, a gynddrychiolwyd ac yr ammodwyd drostynt yn y cyfammod. Yr oedd yr oll o ddynion yn gyd-radd wrth natur; ac nid oedd dim mewn un mwy nâg yn y llall, i'w gymmeradwyo ef; eithr fe ddisgynodd rhydd gariad ar wrthddrychau cyfan-gwbl anhawddgar; ac fe ddarfu i ben-arglwyddiaethol gariad ddisgyn ar rai o'r fath wrthddrychau, a myned heibio i ereill ag oedd yn yr un cyflwr: "Ië, O Dad, canys felly y rhyngodd bodd i ti," Mat. xi. 26. Y mae'r llestri i barch, a'r llestri i anmharch, ill dau o'r un telpyn pechadurus: dyma ddirgelwch y rhaid gadael y deongliad o hono i ben-arglwyddiaethol ewyllys a hyfrydwch, Rhuf. ix. 21. "Onid oes awdurdod i'r crochenydd ar y priddgist, i wneuthur o'r un telpyn pridd un llestr i barch, ac arall i anmharch?" Eithr na ddyweder fod hyn yn bychanu ammodol gynddrychioliad yr ail Adda, na ddarfu iddo ef gynddrychioli ond rhai o ddynolryw, pan y darfu i'r Adda cyntaf gynddrychioli holl ddynolryw. O herwydd megis y mae yn fwy peth i fod yn fachniydd am swm ddirfawr dros un dyn, yr hwn nis medd, ac nis dichon gael dim oll, â'r hyn y gall dalu ei ddyled, na bod yn fachniydd dros gant o rai a fyddo yn meddu cyfiawnder o'u heiddo eu hunain: felly yr oedd yn fwy peth i Iesu Grist ammodi ac ymrwymo dros un pechadur, nâg i Adda ammodi dros fyd cyfiawn. Ac etto y mae yn wirionedd safadwy, mai "lle yr amlhaodd pechod, y rhagor amlhaodd gras," Rhuf. 5. 20. o herwydd y mae yn beth mwy o lawer i achub un, na dystrywio llawer. Ar yr un pryd, y mae'r rhai a gynddrychiolwyd gan Iesu Grist yn yr ail gyfammod, yn "dyrfa fawr, yr hon ni allai neb ei rhifo," Dat. vii. 9. sef fel ser y nefoedd, Gen. xv. 5. Rhuf. iv. 18.

*Casg.* 2. Nid oes un prynedigaeth gyffredinol, na iawn cyffredinol: ni bu Iesu Grist farw dros yr oll a phob person unigol o ddynolryw; eithr dros yr etholedigion yn unig. Fe ddichon yr athrawiaeth wrthwynebol gydsefyll â'r farn sydd yn dal, fod cyfammod y prynedigaeth a'r cyfammod gras yn ddau wahanol gyfammod; y blaenaf wedi ei wneuthur â Christ, a'r olaf â chredinwyr; efe yn ymrwymo i gyflawni ammodau y naill, a ninnau yn ymrwymo i gyflawni ammodau y llall. Yn gytunol â hyn, y mae y farn hòno mewn perthynas i'r cyfammod, yn cael ei choflеidio gydâ pharodrwydd gan y cyffredinolwyr o wahanol enwau. Eithr y mae'r athrawiaeth hòno yn hollol anghydsyniol â'r hanes hyn o'r cyfammod, yr hon ar yr un waith sydd yn dadymchwelyd prynedigaeth neu iawn cyffredinol, y'nghyd â sefyllfa ammodol ein santeiddrwydd a'n gweithredoedd da ni yn y cyfammod gras. O herwydd os gwnaethpwyd y cyfammod gras â Christ fel cynddrychiolwr, a'r etholedigion yn unig oedd y blaid a gynddrychiolwyd ganddo ef ynddo; yna yn ddiau fe ddarfu i ammodau y cyfammod, sef ei weithredoedd a'i farwolaeth ef, gael eu cyflawni drostynt hwy yn unig; ac ni bu efe farw dros neb arall: megis pan y byddo un wedi myned i ysgrif-rwym o fachniaeth, nis gall ei waith ef yn talu'r ysgrif-rwym hòno byth gael ei gyfrif yn daliad eu dyled hwy, y rhai nad oedd eu henwau yn yr ysgrif-rwym, a'r rhai nid oedd efe yn fachniydd drostynt.

*Casg. olaf,* Pwy bynag a wrthodo y cyfammod gras, yr hwn sydd yn cael ei gynnyg iddynt yn yr efengyl, a thrwy hyny drengu, fe gaiff holl etholedigion Duw mewn modd diball eu dwyn i mewn iddo yn bersonol, a'u cadw; megis y mae yr oll o'r rhai hyny a gynddrychiolodd Adda yn y cyfammod gweithredoedd, wedi cael, yn cael, neu i gael eu dwyn yn bersonol i'r cyfammod hwnw; a phechod a marwolaeth yn myned arnynt oll, Rhuf. v. 12. yn yr un modd y mae yr oll o'r rhai a gynddrych-

iolodd Crist yn y cyfammod gras, wedi cael, yn cael, neu i gael eu dwyn yn bersonol i'r cyfammod hwn, a chyfranogi o gyfiawnder a bywyd, adn. 18, 19. Fe ddarfu i'n Harglwydd Iesu Grist gyflawni ammodau y cyfammod drostynt hwy y rhai yr oedd yn eu cynddrychioli: ac ni byddai yn gyfaddas i gyfiawnder Duw, nac i ddoethineb Crist, y blaid a ymgyfammododd âg ef, iddo ef gynddrychioli, ammodi, a chyflawni yr ammodau dros neb o'r rhai ni chânt byth fwynhau budd y cyfammod: i ba beth, gan fod y rhai hyny, y rhai trwy fwriad Duw nis gellir eu difuddio, ac a gaiff, heb un fe allai, eu dwyn yn bersonol i'r cyfammod hwn; ac yr ydych chwi, y rhai sydd yn clywed yr efengyl, a'r moddion y sydd i ddwyn y dyben hwn oddiamgylch yn cael eu defnyddio atoch, yn sefyll mor dêg am hyn a neb: fe ddichon i hyn eich cefnogi chwi i ddyfod at Grist, a chymmeryd gafael ar y cyfammod gras. Ymgnhyrfwch eich hunain, gan hyny, O bechaduriaid, i gymmeryd gafael ar y cyfammod gras, yr hwn sydd yn cael ei gynnyg i chwi yn yr efengyl; a dewch chwi at Grist trwy ffydd, a thrwy hyny ddirwyn eich hunain yn bersonol i ysgrif-rwym y cyfammod, a'r cymmundeb o hono.

*Gwrthddadl.* ' Ond y mae arnaf ofn nad wyf o nifer y rhai hyny a gynddrychiolodd Crist yn y cyfammod gras: pa fodd gan hyny y gallaf gymmeryd gafael ynddo trwy gredu?'

*Atteb.* Pe byddai dy enw di yr enw cyntaf a ysgrifenodd yr Oen yn ei lyfr y bywyd; er hyny nis gelli di, nac un dyn arall, wybod ei fod ef yno oll, hyd oni byddo i ti trwy gredu gymmeryd gafael ar y cyfammod, 2 Pedr i. 10. " Byddwch ddiwyd i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr;" eithr yn gyntaf eich galwedigaeth, ac yna eich etholedigaeth. Ac, ar y llaw arall, pe byddai i ti fod yn greadur anferth mewn pob math o ddrygioni, a bod yr holl nodau diriaid o un gwrthodedig arnat, oddieithr yr un hwnw yn unig, y

pechod yn erbyn yr Ysbryd Glân, etto nis gelli di, nac un dyn arall, wybod na chynddrychiolwyd di yn y cyfammod, Mat. xii. 31. "Pob pechod a chabledd a faddeuir i ddynion: ond cabledd yn erbyn yr Ysbryd Glân ni faddeuir i ddynion." O herwydd paham; y mae'r mater hwnw yn hollol ddirgelwch i ti, yr hyn yn yr achos hwn nid ydwyt i ymyraeth âg ef, nac i benderfynu ynddo: o herwydd, "y dirgeledigaethau sydd eiddo yr Arglwydd ein Duw: a'r pethau amlwg a roddwyd i ni," Deut. xxix. 29. Nid yw ychwaith eich gwarant i gredu, ac i gymmeryd gafael ar y cyfammod, mewn un modd yn ymddybenu ar hyny: canys y mae gan yr anghymmeradwy gystal gwarant ddatguddiedig i gredu, a chymmeryd gafael ar y cyfammod gras, ag y sydd gan yr etholedig; pe amgen, nis gellid eu heuog-farnu am anghredu, a pheidio ymaflyd yn y cyfammod. Bydd pa beth bynag ydwyt, gan dy fod yn ddiau yn bechadur o ddynolryw, y mae dy warant yn annadleuadwy, yn ol y gair: "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller *pwy bynag* a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol," Ioan iii. 16. "A hwn yw ei orchymyn ef, gredu o honom yn enw ei Fab ef Iesu Grist," 1 Ioan iii. 23. O herwydd paham, credwch chwi, a chymmerwch afael ar y cyfammod i chwi eich hunain: felly y cewch chwi wybod eich etholiad, a'ch cynddrychiad yn y cyfammod, trwy yr effeithiau o honynt. Y mae i'r dyryswch hwn gael ei daflu ar ffordd y pechadur, sydd yn deimladwy o'i angen o Grist, i'w guro ef ymaith rhag credu yn Nghrist, yn ddyfais ac yn hudiad enbyd o eiddo'r diafol. Eithr gwna di ei gwrthdaro hi, gan ddywedyd, O elyn fy iachawdwriaeth, y mae yn wir nas gwn i pa un a ddarfu i Grist fy nghynddrychioli i ai peidio yn y cyfammod tragywyddol; ac nid ydwyf ychwaith yn rhwymedig i wybod, nac i ymdrafferthu am wybod hyn, mewn trefn i mi ymaflyd yn y cyfammod hwnw: eithr yr

ydwyf yn gwybod un peth yn sicr, sef, bod y cyfammod, yn yr addewid rydd o fywyd a iachawdwriaeth, ar y sail o ufudd-dod a marwolaeth Crist yn unig, yn cael ei ddod allan i mi, ie i mi, i'w gredu, ymddiried y[illegible], ac ymorphwys arno genyf fi, ie genyf fi; ac am hyny myfi a gredaf, ac a ymaflaf ynddo: ac ar y sail anffaeledig o ffyddlondeb Duw yn yr addewid, "na choller *pwy bynag* a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol," ac mi a benderfynaf y caiff ef ynddiau ei wneuthur i mi.

*Gofyniad*. "Eithr a oes dim nodau neu arwyddion, trwy yr hyn y dichon y pechadur tlawd wybod ei fod ef yn un o'r rhai a gynddrychiolwyd gan Grist yn yr ail gyfammod, enwau y rhai a roddodd efe yn ysgrif-rwym y fachniaeth a roddodd efe i'w Dad er tragywyddoldeb?"

*Atteb*. Oes, y mae: eithr y maent y cyfryw, fel er y gwna y meddiant o honynt brofi fod y dyn wedi ei gynddrychioli gan Iesu Grist yn y cyfammod tragywyddol; etto ni wna y diffyg o honynt brofi nad yw dyn wedi ei gynddrychioli ynddo; o herwydd yn gymmaint ag y dichon i ddyn feddiannu yn ol llaw, yr hyn ni fedd ef yn bresenol. A than y terfyniad hyn, yr ydwyf yn cynnyg y ddau nod hyn o'r peth mewn holiad:

*Nod* 1. Ymfoddloniad dwys-fwriadol a diffuant yn y cyfammod. Megis yr oedd gydâ'r cynddrychiolwr er tragywyddoldeb; felly y mae mewn amser, yn y mater hwnw, gydâ'r rhai a gynddrychiolwyd, pan un waith trwy ras y maent yn dyfod yn abl i roddi eu cydsyniad personol: y mae ymfoddloniad dwys-fwriadol a diffuant yn y cyfammod, ar y cynnygiad o hono, Psal. xl. 7, 8. "Yna y dywedais—a'th gyfraith sydd o fewn fynghalon." Y mae plant dynion yn egluro eu hunain yn had naturiol Adda, wedi eu cynddrychioli ganddo ef yn y cyfammod gweithredoedd, trwy dueddiad a gogwyddiad eu calon at y cyfammod hwnw: y mae'r fath duedd at y cyfammod hwnw yn hongian

ar feddyliau dynion yn naturiol, fel mai gwnewch a byddwch fyw, neu gweithiwch ac ennillwch, yw crefydd yr holl ddynion anianol, mor belled ag y mae ganddynt un grefydd ymarferol mewn un modd; ac nis gellir eu dwyn ymaith oddiwrthi hi, ond trwy allu adnewyddol ras. Yn yr un modd a hyn, y mae etholedigion Duw yn egluro eu hunain yn hâd ysbrydol Crist, wedi eu cynddrychioli ganddo ef yn y cyfammod gras, trwy eu hymfoddloniad dwys-fwriadol a diffuant yn y cyfammod hwn: y mae'r galon ar ol ei chyffwrdd gan ddwyfol ras, yn dywedyd am dano, "Fy holl iachawdwriaeth, a'm holl ddymuniad yw," 2 Sam. xxiii. 5. Y mae'r tuedd newydd sydd yn hongian ar eu meddyliau trwy adnewyddol ras, yn eu dwyn i roddi cymmeradwyad bywiog, i flasu, a serchu y cyfammod newydd sydd yn cael ei ddal allan yn yr efengyl: y maent yn hollol foddlon i'r pleidiau ymgyfammodol; y cynddrychiolwr, a'r cynddrychiad ynddo ef; yr ammodau, a'r addewidion o hono; y gweinyddwr, y gweinyddiad, a'r drefn o hono. Mewn gair, y mae y cyfammod yn eu golwg hwy yn ddytais ddifai; nid oes dim ynddo ef a ddymunent ei fod allan; ac nid oes dim allan o hono ef a ddymunent i fod i mewn. Felly yno y maent yn bwrw angor am eu heneidiau eu hunain. Eithr nid yw felly gydâg ereill, 1 Pedr ii. 7, 8. "I chwi gan hyny, y rhai ydych yn credu, y mae yn urddas: eithr i'r anufuddion, y maen a wrthododd yr adeiladwyr, hwnw a wnaed yn ben y gongl; ac yn faen tramgwydd, ac yn graig rhwystr, i'r rhai sydd yn tramgwyddo wrth y gair, gan fod yn annufudd; i'r hwn beth yr ordeiniwyd hwynt hefyd."

*Nod* 2. Y mae delw Crist yn dechreu cael ei llunio ar yr enaid, y'nghyd â hiraeth am y perffeithiad o honi, 1 Cor. xv. 48, 49. "Fel y mae y nefol, felly y mae y rhai nefol hefyd: ac megis y dygasom ddelw y daearol, ni a ddygwn hefyd ddelw y nefol." Megis y mae yr oll o'r rhai a gynddrychiolodd Adda, pan yr aeth ef i mewn i'r

cyfammod gweithredoedd yn mhaladwys, bob un o honynt yn ei amser, ar ol hyny, yn personoli Adda, yn ymddangos mor debyg iddo ef ag y darfu i un plentyn erioed debygoli i'w dad, yn gweithredu yn yr un modd ag y gweithredodd ef, megis y dangosais i mewn lle arall: felly y mae'r holl rai a gynddrychiolodd Crist yn y cyfammod gras, er tragywyddoldeb; mewn amser yn gwisgo Crist, Gal. iii. 27. yn ei bersonoli ef, ac yn ei arddangos ef mewn ystyr arall, sef, dwyn ei ddelw ef, a "rhodio megis ag y rhodiodd ef," 1 Ioan ii. 6. Y mae hyn yn addewid y cyfammod i'n Harglwydd Iesu, Esay liii. 10. "Efe a wel ei hâd;" sef, fel y mae un yn gweled baban newydd eni. Eithr a ydyw ereill ddim yn eu gweled hefyd? Ydynt, yn ddiau y maent. Y mae satan a dynion drwg yn eu gweled hwynt, megis y mae gwrthryfelwyr a bradwyr yn gweled tywysog newydd eni, etifedd o'r goron, gydâ chenfigen a chasineb. Y mae y duwiolion yn eu gweled hwynt, megis y mae tywysogesau yn yr achos hwnw, yn gweled eu brawd newydd eni, gydâ boddlonrwydd neillduol. Eithr y mae ein Harglwydd Iesu Grist ei hun yn eu gweled hwynt, megis y mae y brenin, tad y baban, yn gweled ei fab ei hun, a'i ddelw ei hun, gydâ neillduol foddlonrwydd. Ar yr un pryd, megis nad yw plant Adda yn bwrw allan, ar yr un waith, yr oll o'r hen Adda y sydd ynddynt, eithr yn raddol megis y maent yn tyfu i fynu; eithr y maent yn barhaus yn hiraethu am y perffeithrwydd o hono, pan y delont i'w cyflawn faintioli: felly nid yw plant Crist ond anmherffaith yn y bywyd hwn, mewn sefyllfa mabanaidd; eithr y maent yn hiraethu am gyrhaedd perffeithrwydd, "at fesur oedran cyflawnder Crist," ac y maent yn feddiannol ar yn egwyddor ynddynt, Eph. iv. 13.

Hyd yma am y Pen cyntaf, sef y Pleidiau yn y cyfammod gras.

# YR II. BEN.

## Y GWNEUTHURIAD O'R CYFAMMOD GRAS.

---

### Psalm lxxxix. 3.

*Gwnaethum ammod a'm hetholedig.*

YR ydym yn bresenol yn myned i gymmeryd golwg ar wneuthuriad y cyfammod gras, rhwng y pleidiau sydd yn ammodi i'w gilydd yn y cyfammod.

Ac yma yr ydym yn cael ein hunain wrth ffynnonell iachawdwriaeth pechaduriaid colledig, y gwreiddyn a'r codiad o'r cynllun ardderchog, yr hwn, er tragywyddoldeb, oedd gynnwysedig yn nghyngor y Drindod fendigedig, er meddyginiaeth cyflwr dyn truenus.—Ac y mae hwn yn ddirgelwch o amryw blygiau; amryw blygiau yr hwn nis gallwn yn gyflawn eu datguddio. Gydâ Duw y mae ef oll yn un darn, os yw yn gymhwys i mi ymadroddi felly am dano: o herwydd gydâg ef y mae pob peth yn un, ar yr un waith; ac nid un cyn, a'r llall wedi eu gilydd, fel gydâ ni.

Pa fodd bynag, nis gallwn ni ei amgyffred ef ond yn rhanau; yn gyntaf un rhan o'r dirgelwch, ac yna un arall: a hyny o herwydd gwendid ein cynnwysderau fel yr ydym yn greaduriaid; a llawer mwy felly, fel yr ydym yn greaduriaid dan lawer o dywyllwch ysbrydol. O herwydd paham, y mae yn rhaid i ni o angenrheidrwydd, gyflwyno ein hunain i'r iawn ddeall o hono yn rhanau: eithr dylem gofio yn barhâus, ein bod y'nghyd â'r dirgelwch tragyw-

E

yddol, a drefnwyd yn arfaeth tragywyddol y Drindod Santaidd, oll ar un waith, mewn un weithred dragywyddol o eiddo yr ewyllys Ddwyfol; gydâ'r hwn ddirgelwch, er hyny, y caniatâir i ni ddirnad trefn neillduol, gan nas gallwn gael un olwg addas ar y dirgelwch heb hyny.

Yr ydym yma i olygu y Tad, y blaid sydd yn cyfammodi o du y nef, yn yr achos hwn, fel Duw wedi ei anfoddloni; eithr, er hyny, yn bwriadu egluro gogoniant ei drugaredd yn iachawdwriaeth rhai o ddynolryw colledig; etto fel Duw cyfiawn, yr hwn nis gall lai na rhoddi ei gyfiawn daledigaeth i bechod. Yr ydym hefyd i olygu Iesu Grist, y blaid sydd yn cyfammodi o du y dyn, yma, fel yr ail, neu yr Adda diweddaf, yn cynnrychioli hâd: yn yr olwg ar hyn, ni a ddylem, yn gyntaf oll, chwilio allan pa fodd y daeth Crist, Mab Duw, i fod yr ail Adda? ac yna pa fodd y gwnawd y cyfammod âg ef fel y cyfryw? gan olygu fod y blaenaf o'r ddau, megis yn rhag-sail i'r olaf.

*Yn gyntaf,* Pa fodd y daeth Crist, Mab Duw, i fod yr ail Adda? Gellir cymmeryd hyn dan sylw mewn dau beth.

Yn 1. Fe ddarfu i'r Tad ewyllysio ac arfaethu, i'w Fab ei hun, y Gair tragywyddol, gymmeryd natur ddynol, a dyfod yn ddyn, er mwyn dangos ei drugaredd tuag at ddynolryw colledig. Efe a welodd nas gallai aberth ac offrwm atteb y dyben: yr oedd y dyled yn fwy nag y gallasid ei dalu yn y modd hyny; nis gallasai iachawdwriaeth eneidiau gael ei dwyn oddiamgylch, ond gan Berson o annherfynol urddas a theilyngdod: o herwydd paham, gan ei fod wedi arfaethu i'r briodoledd hoff o drugaredd gael ei henwogi, yn achos dynolryw colledig, efe a ewyllysiodd i'r natur ddynol, mewn amser, gael ei huno â'r natur Ddwyfol, yn mherson y Mab.

I hyn yma, y Mab, y Gair, yr ail Berson yn y Drindod ogoneddus, a gydsyniodd yn ewyllysgar, er nad oedd iddo ef un berthynas nês â dynolryw, nâ bod en Pen-arglwydd a'u Creawdwr hwynt; Heb. x. 5, 7. "Aberth ac offrwm nis mynaist, eithr corff a gymhwysaist i mi. Yna y dywedais, Wele fi yn dyfod (y mae yn ysgrifenedig yn nechreu y llyfr am danaf) i wneuthur dy ewyllys di, O Dduw." Fe gydsyniodd y Gair tragywyddol i gymmeryd ei wneuthur yn gnawd, fel na byddai i'r oll o gnawd drengu: fe gyttunodd i ddyfod yn ddyn, i gymmeryd y natur ddynol i undeb personol âg ef ei hun, sef corff gwirioneddol, ac enaid rhesymol, yn ol tragywyddol luniaethiad y Tad. Yr oedd hyn yn siampl o'r ymddarostyngiad mwyaf rhyfeddol. Ni byddai cydsyniad y brenin uwchaf ar y ddaear, i roddi heibio wisgoedd ei fawrhydi, a chymmeryd ei wisgo â bratiau, a myned yn gardotyn, ddim i'w gymharu i'r ymddarostyngiad hwn. Ie, ni byddai cydsyniad yr angel uwchaf yn y nef i ddyfod yn abwydyn, ddim yn deilwng o gael ei enwi mewn cymhariaeth i ymddarostyngiad Mab Duw, cydradd y Tad, i ddyfod yn ddyn: o herwydd y mae y pellder sydd rhwng y natur Ddwyfol, a'r natur ddynol, yn annherfynol; ac nid yw y pellder sydd rhwng y natur angelaidd, a natur abwydod y ddaear, ond terfynol.

Yn awr, y canlyniad i hyn oedd, i Fab Duw gael ei wneud yn Gyfryngwr sylweddol, neu yn Gyfryngwr o ran natur rhwng Duw a dynion. Trwy ei fod ef yn Dduw yn gydradd â'r Tad, yr oedd efe felly yn dwyn perthynas â'r nef. A thrwy iddo, er tragywyddoldeb, roddi ei gydsyniad i fod yn ddyn, yr oedd ef felly yn dwyn perthynas â'r ddaear: canys, er nas cymmerodd efe natur dyn yn sylweddol i un-

deb âg ef ei hun, hyd oni ddaeth cyflawder yr amser gosodedig i hyny gan y Tad; etto gan ei fod ef er tragywyddoldeb wedi cydsynio i'w chymmeryd hi (ac yr oedd yn anmhosibl lai nag i'w gydsyniad ef gael ei ddwyn i ben) yr oedd yn cael ei gyfrif, yn y modd mwyaf cyfreithlon, yn addas i bob amcan a bwriad yn y cyfammod, fel pe buasai wedi ymgnawdoli.— A chysgod o hyn, sef ei gyfryngdod sylweddol ef, oedd ysgol Jacob, yr hon oedd wedi ei gosod ar y ddaear, a'i phen yn cyrhaeddyd i'r nefoedd, Gen. xxviii. 12.

Arwydd-lun (*emblem*) eglur o'r natur Ddwyfol, a'r natur ddynol, yn Nghrist, trwy yr hwn, fel Cyfryngwr sylweddol, yr oedd ffordd wedi ei hagor, i rydd-dramwy am heddwch rhwng nefoedd a daear. Yn gyfattebol i hyn y mae ein Harglwydd Iesu yn ei gymhwyso iddo ef hun, Ioan i. 51. "Ar ol hyn y gwelwch y nef yn agored, ac angelion Duw yn esgyn ac yn disgyn ar Fab y dyn;" a hyny yn yr un modd ag ar ysgol Jacob, Gen. xxviii. 12.

Yn 2. Fe etholodd y Tad ef i fod yn ben yr etholedigaeth; i fod yn Adda diweddaf, y pen cyfammodol, a'r cynnrychiolwr o'r cyfryw rai ag a fyddai i gael eu nodi gan yr ewyllys benarglwyddiaethol i fod yn llestri trugaredd, a'u cofrestru yn llyfr y bywyd; â'r hwn yn unig, (sef ei Fab) ac nid â neb arall fel pen-cynnrychiolwr, y gallasai y Tad wneud y cyfammod newydd am fywyd a iachawdwriaeth iddynt.

I hyn y cyttunodd y Mab yn ewyllysgar, trwy roddi ei gydsyniad i fod yr ail neu'r Adda diweddaf, pen a chynnrychiolwr yr etholedigaeth; i gynnal eu personau, a gweithredu yn eu henwau, Esay xlii. 1. "Wele—fy etholedig i'r hwn y mae fy enaid yn foddlon." Psal. lxxxix. 19. "Dyrchefais un etholedig o'r bobl." 1 Cor. xv. 47. "Yr ail ddyn yr Arglwydd o'r nef."

Yr oedd yr adwy neu yr anghydfod rhwng Duw a dynion, yn fwy nag y gallasid ei symud ef trwy genadwr a fuasai yn teithio rhwng y pleidiau, ac yn eu heddychu trwy eiriau yn unig. Nis gallasai un cyfammod heddwch fod rhwng Duw a phechaduriaid, heb adgyweirio yr anfri oedd wedi ei roddi i anrhydedd Duw trwy bechod; ac i'r gyfraith santaidd gael ei hanrhydeddu trwy roddi perffaith ufudd-dod iddi: yn yr olwg ar fod hyn y tu hwnt i'w gallu hwy oll, dywedodd Crist, Mab Duw, "Wele fi yn dyfod;" yr ydwyf fi yn foddlon i gymmeryd eu lle hwynt, a gosod fy hun yn eu deddfle, fel ail Adda.

Yn awr, y canlyniad o hyn oedd, iddo ef gael ei osod yn Adda diweddaf, neu yr ail ddyn, 1 Cor. xv. 47: yn Gyfryngwr swyddol, neu yn Gyfryngwr o ran swydd rhwng Duw a dyn, 1 Tim. ii. 5, 6. "Canys un Duw sydd, ac un Cyfryngwr hefyd rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu; yr hwn a'i rhoddes ei hunan yn bridwerth dros bawb." Yn awr, trwy alwad y Tad arno ef i'r swydd, a'i dderbyniad yntef o'r alwad iddi, fe'i gosodwyd ef yn y swydd, ac fe gyfammododd y Tad âg ef fel y cyfryw, "cyn dechreu y byd," Tit. i. 2. Ac yn wir efe, ac efe yn unig, oedd i'w gael yn addas i hyn. Yn ngwyneb bod y ddau deulu, nef a daear, mewn rhyfel â'u gilydd, nis gallasid heddychu rhyngddynt ond trwy gyfryngwr. Ond pa le y gallasid cael cyfryngwr, i gyfryngu rhwng y fath bleidiau, ac na buasai yn rhy uchel neu yn rhy isel, o ran un o'r pleidiau yn y gwrthryfel? Buasai dynion ac angelion yn annhraethadwy ry isel i ymwneud â Duw; a buasai Duwdod diorchudd yn rhy uchel i ymwneud â dyn pechadurus, yr hwn sydd yn hollol analluog i gyd-gyfeillachu â'r fath bresenoldeb Dwyfol. O herwydd paham, Mab Duw, fel y byddai'n gymhwys i gyfryngu rhwng

y pleidiau, a gydsyniodd i gymmeryd dynoliaeth, i undeb âg ef ei hun; felly fel yr oedd yn Dduw, yr oedd yn ddigon uchel i ymwneud â'r blaid oedd wedi eu digio, sef Duw; ac fel yr oedd yn ddyn, yr oedd yn ddigon isel i ymwneud â'r blaid oedd wedi troseddu, sef y dyn; ac fel Duw-dyn yr oedd yn addas gyfryngwr i'r ddwy blaid.

*Yn ail,* Yr ydym i sylwi, pa fodd y gwnaethpwyd y cyfammod â Christ fel yr ail Adda?—Gellir cymmeryd hyn hefyd dan sylw mewn dau beth.

Yn 1. Fe neillduodd y Tad mewn arfaeth, nifer bennodol o ddynolryw colledig, megis wrth eu henwau, i fod yn aelodau cyfansoddol o'r corff hwnw a ddewiswyd i fywyd, i'r hwn gorff yr oedd Crist wedi ei arfaethu yn ben; ac efe a'u rhoddodd hwynt iddo ef i'r dyben hyny; Phil. iv. 3. "A'm cyd-weithwyr ereill, y rhai y mae eu henwau yn llyfr y bywyd."—Ioan xvii. 6. "Eiddot ti oeddynt, a thi a'u rhoddaist hwynt i mi." Y rhai hyn oeddynt gymdeithas etholedig, y rhai y darfu i ben-arglwyddiaethol rydd ras eu neillduo allan o blith y lleill o ddynolryw, a'u rhoddi yn hâd i'r ail Adda, i ddybenion cariad: o herwydd paham, y dywedir eu bod yn "etholedig ynddo ef," Eph. i. 4. Wedi eu gosod arno ef, fel careg-sylfaen, yn arfaeth etholedigaeth, i gael eu hadeiladu arno ef, a meddiannu iachawdwriaeth trwyddo ef, 1 Thes. v. 9. Yr hon arfaeth, fel y mae hi yn dwyn perthynas â'r aelodau etholedig, sydd yn cael ei galw yn "llyfr y bywyd;" y plyg-lyfr, megis, a roddodd y Tad i'r ail Adda, y Pen etholedig, yn cynnwys enwau y rhai hyny, oedd wedi eu bwriadu i fod yn hâd iddo, a derbyn bywyd trwyddo.

Yn awr, fe ddarfu i'n Harglwydd Iesu, yn ei

waith yn sefyll yn ail Adda, a Phen yr etholedigion, sef y rhai a nodwyd allan gan yr ewyllys ben-arglwyddiaethol i fod yn llestri trugaredd, dderbyn y rhodd neillduol o'r personau dewisol, neu etholedig gan y Tad; Ioan xvii. 6. "Eiddot ti oeddynt, a thi a'u rhoddaist hwynt i mi." Adnod 10. "A'r eiddot ti sydd eiddof fi." Megis yr oedd yr Adda cyntaf, yn ngwneuthuriad y cyfammod cyntaf, wrtho ei hun, heb hâd wedi tarddu allan; etto yr oedd hâd lliosog wedi eu lluniaethu iddo ef, i fod yn gynnwysedig gydâg ef yn y cyfammod hwnw, sef holl ddynolryw, y rhai y darfu i Adda, o leiaf, mewn modd rhinweddol eu derbyn: felly yn wyneb bod nifer bennodol o ddynolryw colledig wedi eu hethol i fywyd, fe ddarfu i Dduw Dad, fel eu meddiannydd gwreiddiol, eu rhoddi hwynt i Grist, eu Pen gosodedig, i fod yn aelodau iddo, yn gynnwysedig gydâg ef yn yr ail gyfammod, er nad oedd neb o honynt mewn bod y pryd hwnw; yntef (sef Crist) a'u derbyniodd hwynt yn anrheg, yn y modd mwyaf boddhâol, i fod ei gorff cyfriniol ef, dros yr hwn y byddai iddo ef gyfammodi â'i Dad. Ac yn arwydd o hyn, megis, efe a dderbyniodd llyfr y bywyd, ac a'i cadwodd ef, fel ei eiddo ei hun, yn yr hwn y mae eu henwau hwynt, yr hwn o ganlyniad a elwir, "Llyfr bywyd yr Oen," Dat. xxi. 27.

Yn. 2. Fe gynnygodd y Tad i Grist, fel yr ail Adda, y cyfammod newydd, am fywyd a iachawdwyiaeth iddynt hwy, yn ei gyflawnrediad, yn ei holl ammodau a'i addewidion; i gyfammodi ynddo ef, a'r holl bersonau neillduol hyny o ddynolryw colledig, oedd wedi eu hethol i fywyd, a'u rhoddi iddo ef, yn yr un modd ag y cyfammododd â holl ddynolryw yn Adda, yn y cyfammod cyntaf. Yr oedd yr addewidion oedd yn cael eu cynnyg yn y cyfammod, yn neillduol fawr a gogoneddus mewn gwirion-

edd; eithr yr oedd yr ammodau, ar ba rai yr oeddent yn cael eu cynnyg, yn neillduol uchel.

Er hyny, megis y darfu i'r Adda cyntaf trwy sefyll yn ben, ac yn gynnrychiolwr o'i holl hâd naturiol, fyned mewn cyfammod â Duw, a derbyn yr addewidion cynnwysedig yn y cyfammod hwnw, ar yr ammodau gosodedig iddo, ac ymrwymo i'w cyflawni: felly y darfu i'n Harglwydd Iesu, trwy sefyll fel ail Adda, pen a chynnrychiolwr o'r personau neillduol o ddynolryw colledig, oedd wrth eu henwau wedi eu hethol i fywyd, a'u rhoddi iddo ef fel ei hâd ysbrydol, fyned mewn ail gyfammod â'i Dad; a derbyn yr addewidion cynnwysedig ynddo, ar yr ammodau gosodedig iddo yn y cyfammod hwnw, gan gydsynio ac ymrwymo i gyflawni yr ammodau oll drostynt hwy.

Ac fel hyn y gwnaethpwyd, ac y sefydlwyd y cyfammod gras, rhwng y Tad a Christ, yr ail Adda, er tragywyddoldeb; yr hwn yw'r ail gyfammod, o ran yr amlygiad a'r gosodiad o hono i'r byd, er ei fod ef y cyntaf mewn bod, 1 Cor. xv. 47. "Yr ail ddyn yr Arglwydd o'r nef." Esay liii. 10. "Pan osodo efe ei enaid yn aberth dros bechod, efe a wêl ei hâd." Tit. 1. 2. "I obaith bywyd tragywyddol, yr hon a addawodd y digelwyddog Dduw cyn dechreu y byd." Psal. xl. 6, 7, 8. "Aberth ac offrwm nid ewyllysiaist; agoraist fy nghlustiau; yna y dywedais, Wele yr ydwyf yn dyfod: yn rhol y llyfr yr ysgrifenwyd am danaf. Da genyf wneuthur dy ewyllys, O fy Nuw: a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon."

Yn awr, fe ddarfu i Grist, yr ail Adda, trwy roddi ei gydsyniad i'r cyfammod, rwymo ei hun i swydd driphlyg o anghymharol bwys; efe a ymrwymodd i fod, yn 1. Yn Waredwr-cyfathrachol yn y cyfammod. Yn 2. Yn Fachniydd y cyfammod. Ac yn 3. Yn Offeiriad y cyf-

ammod. Y mae cyffyngdod Crist, mewn gwirionedd, yn rhedeg trwy holl ranau'r cyfammod. Ac y mae amryw ranau ereill o'r cyfryngdod hwnw, pa rai mewn golygiad ar addewidion y cyfammod, sydd yn perthyn i'r gweinyddiad o'r cyfammod. Eithr y mae y rhai hyn a enwais yn bresenol yn dwyn perthynas âg ansawdd y cyfammod, ac felly yn perthyn i'r gwneuthuriad o hono, dan yr hwn ben ni a gawn eu hystyried hwy mewn trefn.

## I. *Crist y Gwaredwr-cyfathrachol yn y cyfammod.*

Fe ddarfu i'n Harglwydd Iesu Grist, yr ail Adda, yn ei waith yn rhoddi ei gydsyniad i'r cyfammod, yn y dull y gosodwyd ef ger ei fron ef, gan y Tad, ymrwymo i fod yn Waredwr-cyfathrachol yn y cyfammod, i'r eglwys; Job xix. 25. "Canys myfi a wn fod fy Mhrynwr yn fyw, ac y saif yn y diwedd ar y ddaear."

Dan y gyfraith, pan y byddai un yn analluog i weithredu drosto ei hun, i ymddiffyn neu feddiannu ei fraint, byddai gan un a fyddai yn berthynas iddo hawl i weithredu drosto, trwy ddyfod yn ei le ef, a sefyll i fynu yn ei hawl ef. Ac y mae'r cyfryw un yn cael ei alw ei (goel) ef; yr hyn yn y modd mwyaf priodol sydd yn arwyddocâu gwaredwr-cyfathrachol. Felly y mae'r gair (goel) weithiau yn cael ei gyfieithu cyfnesaf, megis Num. v. 8. "Ac oni bydd i'r gwr (goel) cyfnesaf i dalu am y camwedd iddo;" weithiau cyfathrachwr, megis Ruth iii. 12. "Ac yn awr gwir yw, fy mod i yn (goel) gyfathrachwr agos; er hyny y mae (goel) cyfathrachwr nês nâ myfi." Y mae weithiau yn cael ei gyfieithu gwaredwr, megis Diar. xxiii. 11. "Canys ei (goel) Gwaredwr hwynt sydd nerthol." Esay xlvii. 4. "Ein (goel) Gwaredwr ni, ei enw yw Arglwydd y lluoedd." Y mae un a fyddo'n

gweithredu yn yr amgylchiad hwnw, yn cael ei alw yn gyfathrachwr, neu un yn rhyddhau; i arwyddocâu ei fod yn gweithredu trwy hawl perthynas, Ruth iii. 13. a'r iv. 6. Er hyny, fe allasai y cyfathrachwr dan y gyfraith wrthod gwneuthur rhan cyfathrachwr, megis y gwnaeth cyfathrachwr nesaf Ruth, trwy ddiosg ei esgid a'i rhoddi i Boaz, i arwyddo ei fod yn gwrthod, ac yn rhoddi i fynu ei hawl i Boaz, Ruth iv. 6, 7, 8.

Yn awr, Crist, yr ail Adda, a welodd bechaduriaid, ei gyfnesafiaid dinystriol, yn gyfangwbl analluog i weithredu drostynt eu hunain. Nid oedd un o honynt oll yn alluog i'w wared ei hun, a llawer llai ei frawd. Y'nglŷn â hyn oll, ni feiddiai'r holl angelion (y rhai oeddent berthynas agos iddynt yn y greadigaeth rhesymol) ymyraeth â'u prynedigaeth hwy, gan eu bod yn gwybod y buasai iddynt, trwy gynnyg ar y gorchwyl, golli eu hetifeddiaeth eu hunain, a methu eu gwared hwy. Pe gwnaethai Crist roddi i fynu ei hawl i fod yn Waredwr, a diosg ei esgid, a'i chynnyg hi i'r holl greadigaeth, nid oedd neb i'w gael a fuasai yn anturio ei derbyn, a rhoddi ei droed ynddi, i fod yn Waredwr. "Edrychais hefyd," medd efe, "ac nid oedd gynnorthwywr; rhyfeddais hefyd am nad oedd gynnaliwr: yna fy mraich fy hun a'm hachubodd," Esay lxiii. 5. Efe a gymmerodd arno ei hun yr enw, a'r swydd o fod yn Waredwr-cyfathrachol iddynt; ac am dano ef, fel y cyfryw, y mae Job yn llafaru, yn Job xix. 25. yr hwn le, yn ol y iaith wreiddiol, sydd i'w ddeall fel hyn: "Mi a wn fod fy Ngwaredwr-cyfathrachol yn fyw: ar un diweddaf, efe a saif i fynu ar y llwch." Yn yr hyn eiriau, y mae Job yn ei gysuro ei hun â'r olwg ar Grist, fel ei Waredwr-cyfathrachol, yn fyw, ie yn ei ddyddiau ef, o ran ei Berson Dwyfol; ac fel y diweddaf, neu yr ail un, (mewn cyferbyniad i'r un blaen-

orol, neu y cyntaf, Ecs. iv. 8, 9. Deut. xxiv. 3, 4.) hyny yw, y diweddaf, neu yr ail Adda WAREDWR: mewn cyferbyniad i'r Adda cyntaf DDINYSTRIWR: yr oedd efe yn cadarn gredu y byddai i'r ail Adda, mewn undeb â'r natur ddynol, sefyll i fynu ar lwch y ddaear, a gwneud rhan Cyfathrachwr drosto ef; fel y darfu i'r Adda cyntaf, ar ol anadlu yn ei ffroenau ef anadl einioes, sefyll i fynu ar lwch y ddaear, a dinystrio ei hun a'i holl hiliogaeth.

Yn awr, yr oedd pedwar o bethau neillduol i'r Gwaredwr-cyfathrachol i'w gwneuthur dros ei gyfnesaf, a fyddai yn analluog i weithredu drosto ei hun; y rhai oll yr ymrwymodd Crist, yr ail Adda, yn y cyfammod gras i'w cyflawni.

Yn 1. Yr oedd ef i briodi gweddw ei gyfnesaf, a fyddai wedi marw, i gyfodi hâd i'w frawd. Hyn oedd y peth oedd Ruth yn ei ddwyn ar gof i Boaz, Ruth iii. 9. "Myfi yw Ruth dy lawforwyn: lleda gan hyny dy aden dros dy lawforwyn; canys fy nghyfathrachwr i ydwyt ti." Cymharwch adnod 10—13. â Ruth iv. 10. ac Ezec. xvi. 8. "Yna y lledais fy aden drosot—a thi a aethost yn eiddo fi." Yr oedd ein natur ni mewn sefyllfa gysurus a ffrwythlawn, pan yr oedd delw Duw yn argraffedig arni yn yr Adda cyntaf; ond pan yr ymadawodd y ddelw hòno, yn y farwolaeth ysbrydol, yr hon a gymmerodd le trwy bechod Adda, fe aeth ein natur ni yn gyfan-gwbl ddiffrwyth yn y sefyllfa hòno; o ran y gradd lleiaf o ffrwyth i santeiddrwydd. Eithr fe gydsyniodd ein Gwaredwr-cyfathrachol ni, i briodi y weddw. A chan ei fod i gymmeryd iddo ei hun natur ddynol, efe a ymrwymodd i gymmeryd ein natur ni mewn modd neillduol, trwy gymmeryd ei gnawd o hiliogaeth Adda. Fel hyn y darparwyd na byddai i'w gorff ef gael ei wneuthur o' ddiddym ddefnydd, nac o unrhyw ddefnydd pa beth bynag

ag na byddai yn deillio o Adda, o ran ei wreiddyn. Yr oedd y natur ddynol yn gymhares (*match,*) isel iawn iddo ef mewn gwirionedd, hyd yn nod yn ei gogoniant uchaf yn ei sefyllfa greadigol: eithr yn awr yr oedd yn cael ei hystyried megis yn nyfnderau tlodi a gwarth. Er hyny, yn yr olwg ar hyn oll, efe a gydsyniodd i'w chymmeryd hi, fel ein Gwaredwr-cyfathrachol, gan fod hyny yn angenrheidiol er ein ymwared ni. Yn gydunol â'r drefn hon, pan ddaeth cyflawnder yr amser fe'i gwnaethpwyd ef o wraig, a hòno yn ferch o hiliogaeth Adda, Gal. iv. 4. ac felly yr oedd yn fab Adda, Luc iii. 23—38.

Yn y drefn hon fe a osodwyd sylfaen i'r briodas gyfriniol (*mystical marriage,*) rhwng y credadyn a Christ; yr hon briodas gyfriniol, nid yw i gael ei hystyried yn y modd mwyaf priodol, yn gynnwysedig yn ansawdd a gwneuthuriad y cyfammod; eithr a briodolir mewn modd mwy neillduol, i'r addewid a gweinyddiad y cyfammod, trwy'r hon briodas y mae'r pechadur yn cael mynediad personol i mewn i'r cyfammod. Y dyben mawr mewn is-raddoliaeth, neu yn nesaf i ogoniant Duw, o i'n Gwaredwr-cyfathrachol ni gymmeryd ein natur ni i'r fath undeb âg ef ei hun, oedd fel y byddai iddi trwy yr undeb hwnw gael ei gwneuthur etto drachefn yn gyflawn ffrwythlawn mewn gwir ffrwythau santeiddrwydd: ac heb yr undeb hwn, buasai ein natur ni yn aros byth yn gyfan-gwbl ddiffrwyth, o ran y gradd lleiaf o ffrwyth i santeiddrwydd; yn hollol fel natur yr angelion syrthiedig.

Yn 2. Yr oedd efe i ryddhau etifeddiaeth ei gyfnesaf tlawd, a fyddai wedi ei harwystlo, neu ei gwerthu, Lef. xxv. 25. "Os tloda dy frawd, a gwerthu dim o'i etifeddiaeth, a dyfod ei gyfnesaf i'w ollwng; yna efe a gaiff ollwng yr hyn

a werthodd ei frawd." Neu yn hytrach, "Yna y daw i mewn ei waredwr-cyfathrachol ef, yr hwn sydd yn agos iddo ef, ac efe a ryddhâ yr hyn a werthodd ei frawd." Fe aeth ein tad Adda yn eithaf tlawd, trwy ymddygiad twyllodrus y temptiwr tuag ato; efe a werthodd yr etifeddiaeth ardderchog o fywyd tragywyddol, am damaid o'r ffrwyth gwaharddedig; a'i blant yn myned rhagddynt mewn tlodi, trwy eu troseddiadau personol eu hunain, oeddent yn gosod eu hunain bellach bellach oddiwrth yr etifeddiaeth. Nis gallasent gasglu rhyngddynt i gyd, yr hyn a fuasai yn rhyddhau rhan un dyn o'r etifeddiaeth. Ac heb iddi gael eu rhyddhau, nid oedd yn bosibl iddynt hwy gael neshau ati. Yn yr olwg ar hyn, fe gymmerodd yr ail Adda, fel gwaredwr-cyfathrachol, y llwyth gorthrwm o ryddhau'r etifeddiaeth arno ei hun, ac a ymrwymodd i dalu'r llawn bris am y pwrcas hwnw. 1 Thes. v. 10. "Yr hwn a fu farw drosom,—fel y byddom fyw gydâg ef."

Yn 3. Yr oedd efe i adbrynu, neu waredu ei gyfnesaf tlawd o gaethiwed, ar ol iddo ef ei werthu ei hun; a hyny trwy roddi pris ei ryddhad am dano ef, Lef. xxv. 47, 48, 52. "Ac i'th frawd dlodi yn ei ymyl ef, a'i werthu ei hun,—wedi ei werthu, cair ei ollwng yn rhydd, un o'i frodyr a gaiff ei ollwng yn rhydd,—taled ei ollyngdod yn ol ei flyneddoedd." A ni wedi ein gwerthu yn lwynau ein tad cyntaf Adda, fe'n dygwyd i gaethiwed dan felldith y ddeddf. Felly yr ydym wrth naturiaeth yn gaethion y gyfraith, ac o ganlyniad yn gaeth-weision i ddiafol a phechod; yn ddiobaith o waredigaeth byth, heb iawn, a fuasai yn gyflawn werth cynnifer o eneidiau. Fe roddwyd y iawn hwn gerbron yn y cyfammod, i arwyddo y byddai raid i'r Gwaredwr-cyfathrachol, roddi ei hun yn

iawn dros ei gyfnesaf tlawd: yntef (sef Crist) a gyttunodd i wneud hyny, i'r dyben i bwrcasu eu rhydd-did i'w frodyr tlodion, 1 Tim. ii. 5, 6.

Yr oedd y iawn yn fawr, enaid am enaid, corff am gorff; person o annherfynol urddas dros ei gyfnesafiaid tlodion mewn caethiwed. Er hyny efe a gydsyniodd i gymmeryd arno agwedd gwas, fel y byddai iddynt hwy gael eu gollwng yn rhydd. Efe a gydsyniodd i gymmeryd tyllu ei glust wrth ddôr y gyfraith, fel y byddai iddynt hwy gael eu gollwng o'u caethiwed.

Yn 4. Yr oedd ef i ddial gwaed ei gyfnesaf a fyddai wedi ei ladd, ar y llofrudd, Deut. xix. 12. "Yna anfoned henuriaid ei ddinas ef, a chymmerant ef oddiyno, a rhoddant ef yn llaw dialydd y gwaed fel y byddo farw." Fe welodd ein Gwaredwr-cyfathrachol ni ei berthynasau yn ddynion lladdedig, a'r diafol oedd y llofrudd, Ioan viii. 44. Efe a weinyddodd wenwyn iddynt oll yn lwynau eu rhieni cyntaf; ie, efe a'u tarawodd hwynt i farwolaeth, efe a'u lladdodd hwynt âg ergyd saeth trwy y llygad. Ond ni allasid cael allan un dialydd eu gwaed hwy, hyd oni ddarfu i'r ail Adda, eu Gwaredwr-cyfathrachol hwy, gymmeryd arno, yn y cyfammod gras, i ddial eu gwaed. Yn y cyfamser yr oedd "nerth marwolaeth" gan y llofrudd, Heb. ii. 14. A "cholyn angau yw pechod, a grym pechod yw'r gyfraith," 1 Cor. xv. 56. Felly nid oedd modd i ddiarfogi a dinystrio y llofrudd, heb i golyn angau gael ei dynu, nerth yr hwn (golyn) oedd y pryd hwn yn llaw y llofrudd. Ac nid oedd hyny i gael ei wneud, ond trwy foddloni y gyfraith, yr hon yr oedd ei hawdurdod ofnadwy yn dal ei holl droseddwyr yngafael marwolaeth, o herwydd eu heuogrwydd. Dyma y pyrth haiarn yr oedd yn rhaid tori trwyddynt, cyn y gallasai'r Gwaredwr-cyfathrachol, dialydd y gwaed, ddyfod o

hyd i'r llofrudd. Yn yr olwg ar hyn, fe gymmerodd y Gwaredwr galluog arno ei hun i foddloni y gyfraith, trwy ei ddyoddefaint a'i farwolaeth, a thrwy hyny i ddirymu pechod; a thrwy hyn drachefn a dynodd golyn angau: ac felly trwy ei farwolaeth ei hun, efe a ddinystriodd y llofrudd, yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo; ac felly efe a ddialodd waed ei gyfnesafaid lladdedig ar y llofrudd, Heb. ii. 14.—Felly y gwnaeth Samson, yr hwn oedd gysgod o'n Gwaredwr-cyfathrachol ni, yn ei waith yn dial yr Israeliaid ar y Philistiaid, eu gorthrymwyr; efe a dynodd y tŷ i lawr ar y Philistiaid, ac a fu farw ei hun wrth eu dinystrio hwynt, Barn. xvi.

II. *Crist yn Fachniydd y cyfammod.*

Fe ddarfu i Grist, yr ail Adda, trwy roddi ei gydsyniad i'r cyfammod, ymrwymo hefyd i fod yn Fachniydd ynddo, Heb. vii. 22. "Ar destament gwell o hyny y gwnaethpwyd Iesu yn Fachniydd;" neu yn hytrach fel y mae ereill yn ei ddarllen, ar gyfammod gwell. Machniydd yw un a fyddo yn ymrwymo dros arall; yn rhwymo ei hun i dalu ei ddyled ef, pa un bynag fyddo ai gwladol ai camweddus, neu ar iddo gyflawni gweithred. Fel y byddo i ni, gan hyny, iawn ddeall machniaeth Crist, y mae yn angenrheidiol i ni ystyried, yn 1. Dros bwy; yn 2. Am beth, y daeth Crist yn Fachniydd yn y cyfammod.

Yn 1. Dros bwy y daeth Crist yn Fachniydd yn y cyfammod. Ar y pen hwn yr wyf yn cael allan fod dau beth yn cael eu golygu; sef, yn gyntaf, Ei fod wedi dyfod yn fachniydd dros Dduw i bechaduriaid. Ac yn ail, yn fachniydd dros bechaduriaid i Dduw. I'r cyntaf o'r rhai hyn, y mae'r Sosiniaid yn cyfyngu machniaeth Crist,

gan wadu yr ail; ac felly yn dymchwelyd sylfaen ein hiachawdwriaeth o'u rhan hwy. Eithr y mae pawb duwinyddion uniawn-gred yn cyduno, mai yr ail yw y prif beth yn machniaeth Crist. Y mae rhai o'r duwinyddion uniawn-gred, yn rhoddi derbyniad dirwystr, i'r golygiad o fod Crist wedi dyfod yn fachniydd dros Dduw i bechaduriaid, yn gystal ag yn fachniydd dros bechaduriaid i Dduw; gan ymrwymo o du Duw y bydd i'r holl addewidion gael eu cyflawni i'r hâd, sef i bawb a gredant. Nid oes un ammeuaeth nad yw addewidion Duw, ynddynt eu hunain, yn y modd mwyaf cadarn a sicr, o ran gwirionedd anffaeledig Duw, ac nas gallant lai nâ chael eu cyflawni: eithr yr ydym ni, greaduriaid euog, mor hwyrfrydig o galon i gredu, fel yr ydym yn sefyll mewn angen o gael yr hyn a'u gwna hwy yn fwy sicr yn ein golwg ni, neu a sicrhâo ein calonau ni, y bydd iddynt gael eu cyflawni i ni. Ac er mwyn hyn efe a roddodd i ni air yr addewid, o dan ei law ei hun, yn yr ysgrythyrau santaidd; ac ernes ein hetifeddiaeth, Eph. i. 4. sêl yr Ysbryd, adn. 13. 2 Cor. i. 22. y seliau sacramentol, Rhuf. iv. 11. ie, a'r llw difrifol hefyd ar yr achos; yn yr hyn Duw, yn ewyllysio yn helaethach ddangos i etifeddion yr addewid, ddianwadalwch ei gyngor, a gyfryngodd trwy lw, Heb. vi. 17. Ac os yw Iesu Grist yn fachniydd dros Dduw i ni, y mae yn ddiddadl mai i'r un dyben y mae.

Eithr yr ydwyf yn ammau a ydyw yr ysgrythyrau santaidd yn golygu Crist yn fachniydd dros Dduw i'r pechadur. Yn y lle rhag-nodedig, Heb. vii. 22. yr unig destun y mae Crist yn bendant yn cael ei alw yn Fachniydd, y mae yn amlwg bod ei fachniaeth ef yno yn dwyn perthynas â'i swydd offeiriadol ef; yn yr hon y mae efe yn masnachu, neu yn ymwneud â Duw drosom ni, adn. 20—22. "Ac yn gymmaint

nad heb lw y gwnaethpwyd ef yn offeiriad: (canys y rhai hyny yn wir ydynt wedi eu gwneuthur yn offeiriaid heb lw; ond hwn trwy lw, gan yr hwn a ddywedodd wrtho, Tyngodd yr Arglwydd, ac ni bydd edifar ganddo, ti sydd offeiriad yn dragywydd yn ol urdd Melchisedec) ar testament gwell o hyny y gwnaethpwyd Iesu yn Fachnïydd." Ac o ganlyniad nis gall ei fachniaeth ef dros Dduw i ni, fod yn perthyn i'w swydd offeiriadol ef, ond i'w swydd frenhinol; y'nglyn â'r hon y mae pob awdurdod wedi ei roddi iddo, yn y nef ac ar y ddaear: ac o ganlyniad, awdurdod i fynu gweled yr addewidion oll, yn cael eu cyflawni i'w bobl: ac felly y mae ei fachniaeth ef, a enwir yn y testun uchod, drosom ni i Dduw, ac nid dros Dduw i ni. Mewn dau destun arall yn unig, mor belled ag yr ydwyf wedi sylwi, yr ydym yn darllen am fachniaeth, mewn perthynas i'r achos rhwng Duw a'r pechadur; ac y'mhob un o honynt y mae'r fachniaeth dros y pechadur, ac nid iddo: y testunau ydynt Psal. cxix. 122. "Machnia dros dy was er daioni;" a Job. xvii. 3. "Dyro i mi feichiau gydâ thi." Y mae yr ymadroddiad o'r testun diwedaf yn y iaith wreiddiol, yn yr un modd a'r cyntaf; a'r ddau yn yr un modd ac yn achos machniaeth Judah dros Benjamin i'w dad, Gen. xliii. 9. a xliv. 32. Yn awr, oddieithr fod tystiolaeth Duw yn yr ysgrythyrau santaidd, yn dangos i ni fod Crist wedi ei osod yn fachnïydd dros Dduw i ni, nid ydwyf yn gweled un rheswm, o herwydd pa un y dylem ganiatâu fod y fath beth mewn bod, i'n gwrthwynebwyr, y rhai sydd yn gwneuthur y fath ddefnydd dinystriol o hono. O ran y cysur a ddichon ddyfod i ni oddiwrth hyn, y mae yr unrhyw gysur wedi ei gyflawn ddiogelu, yn yr olwg ar fod yr oll o weinyddiad y cyfammod wedi ei gyflwyno i law

ein Harglwydd Iesu Grist: efe yw ymddiriedolwr a thestamentwr y cyfammod, neu gymmwynasau y cyfammod; yr hyn a ddangosaf yn ei le priodol.

Eithr y mae'r peth allan o bob dadl, i Grist, y Cyfryngwr, a'r ail Adda, ddyfod yn fachniydd yn y cyfammod dros bechaduriaid i Dduw, megis y mae'r ysgrythyrau yn helaeth yn tystiolaethu. Psal. lxxxix. 19. "Gosodais gymmorth ar un cadarn." 1 Tim. ii. 5, 6. "Un Cyfryngwr hefyd rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu; yr hwn a'i rhoddes ei hunan yn bridwerth dros bawb." 2 Cor. v. 21. "Canys yr hwn nid adnabu bechod, a wnaeth efe yn bechod drosom ni." Esay liii. 6. "A'r Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd." Gal. iii. 13. "Crist a'n llwyr-brynodd oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith trosom." Esay liii. 5. "Ond efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni." Fe wnaethpwyd y cyfammod gras, â'r hâd ysbrydol, yn Nghrist; fe ddarfu i'r ail Adda gymmeryd y baich drostynt hwy, arno ei hun, fel eu machniydd hwy. Ac heb fachniydd nis gallasai y cyfammod gael ei wneuthur â hwy. O herwydd yr oeddent hwy oll yn gyd-res o rai wedi tori, ac mewn mwy o ddyled fil o weithiau nag y gallasent oll ei dalu; ac nid oedd eu gair hwy, mewn cyttundeb newydd, am fywyd a iachawdwriaeth, werth dim; nis gallasai fod y parch na'r derbyniad lleiaf iddo yn y nef. Nid oedd na gwirionedd, na gallu, wedi eu gadael iddynt ar ol i'r cyfammod cyntaf gael ei dori. Wele eu cymmeriad (*character*) o ran gwirionedd, Rhuf. iii. 4. "Bydded Duw yn eirwir, a phob dyn yn gelwyddog." Ac o ran gallu, Rhuf. v. 6. "Canys Crist, pan oeddym ni etto yn weiniaid, mewn pryd a fu farw dros yr annuwiol." Yr oedd y gofynion yn y cyfammod

hwn yn uchel, ac yn gwbl uwchlaw eu gallu hwy i'w hatteb: ac heblaw hyny, yr oeddent hwy eu hunain yn dwyllodrus, ac yn anwadal. Hwy a dorasant eu gair yn y cyfammod cyntaf, pan yr oedd ganddynt allu i'w gadw ef; pa fodd y gallasid ymddiried iddynt yn y cyttundeb newydd hwn, pan yr oedd eu gallu wedi ymadael â hwy? Felly yr oedd yn angenrheidiol anhepgorol, ar iddynt gael machniydd drostynt yn y cyfammod. Yn wyneb hyn, fe ddaeth Iesu Grist yn fachniydd drostynt: felly fe wnaethpwyd y cyfammod newydd, yn y modd mwyaf sicr, ar yr hwn y mae eu holl iachawdwriaeth hwy yd ymddibenu.

Y mae Salomon yn dywedyd wrthym, mai "blinder mawr a gaiff y neb a fachnio dros y dyeithr-ddyn: ond y neb a gashâo fachniaeth a fydd diogel," Diar. xi. 15. Yr oedd ein Harglwydd Iesu yn gyflawn adnabyddus o'r llwyth yr oedd efe yn myned dano trwy fachnio dros bechaduriaid; yr oedd efe hefyd yn gyflawn adnabyddus o gymmeriad y rhai yr oedd efe yn machnio drostynt; ac yn gwybod nas gallasai gael un cynnorthwy oddiwrthynt hwy: eithr yn yr olwg ar hyn oll, ei gariad at ogoniant ei Dad, a iachawdwriaeth pechaduriaid, a'i rwymodd ef i gymmeryd y sefyllfa, er ei fod yn gwybod y cai ef fyned i afael y dyoddefiadau mwyaf o'i herwydd; megis yr ymddengys wrth ystyried,

Yn 2. Am beth y daeth ef yn fachniydd yn y cyfammod. Y mae machniaeth, o ran y cynnwysiad o hono, o ddau wahanol natur; yn 1. Machniaeth am dalu dyled un, Diar. xxii. 26. "Na fydd un o'r rhai a roddant eu dwylaw, o'r rhai a fachniant am ddyled:" yn 2. Machniaeth am gyflawni gweithred, Diar. xx. 16. "Cymmer wisg y gwr a fachnio dros estron; a chymmer wystl ganddo dros estrones:" hyny yw, gan yr hwn a fyddo yn fachniydd am ei hymar-

weddiad da hi; o herwydd hi a'i gâd ef yn y fagl.

Yn awr, o'r fath gyntaf yr oedd machniaeth ein Harglwydd dros bechaduriaid. Fe ddarfu i Grist, fel ail Adda, trwy roddi ei gydsyniad i'r ail gyfammod, ymrwymo fel machniydd am ddyled yr hâd oedd yn cael eu cynnrychioli ganddo ef. Gosodwyd eu dyled hwy gerbron gan dragywyddol ragwybodaeth Duw, yn yr oll o'i helaethrwydd, yn ol natur y cyfammod gweithredoedd toredig: yntef, sef Crist, a aeth yn fachniydd am y dyled, gan roddi ei law yn llaw ei Dad i dalu y dyled yn gyflawn. Ac,

Yn 1. Efe a ddaeth yn fachniydd am y dyled o'u cospedigaeth hwy, yr hwn oedd ddyledus arnynt hwy fel pechaduriaid, 2 Thes. i. 9. "Y rhai a ddyoddefant yn gospedigaeth, ddinystr tragywyddol oddi gerbron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei gadernid ef." Hyny oedd y dyled i gyfiawnder Dwyfol am yr oll, ac am bob un o'u pechodau hwy, yn wreiddiol ac yn weithredol. Haeddiant eu pechodau, fel troseddau yn erbyn Duw anfeidrol, oedd cospedigaeth annherfynol. Yr oeddent yn agored i oddef poenau marwolaeth yn y cyflawn helaethrwydd o honynt; i ddyoddef grym dialeddol lid, hyd at gyflawn foddlonrwydd i gyfiawnder Dwyfol, a chyflawn adgyweiriad ar gyfiawnder Duw, oedd wedi ei niweidio. Dyma oedd eu dyled o gospedigaeth; yr hwn ddyled nis gallasent hwy eu hunain byth ei dalu, er dyoddef o honynt hyd eithaf eu gallu dros oesoedd tragywyddoldeb. Eithr Crist a ddaeth yn fachniydd am y dyled hwn o'u heiddo, gan ymostwng i roddi ei einioes i lawr dros eu heinioes hwy, yr hon oedd dan gollfarn y gyfraith. Psal. xl. 6, 7. "Aberth ac offrwm nid ewyllysaist; agoraist fy nghlustiau: yna y dywedais, Wele fi yn dyfod." Ioan x. 15—18. "Yr yd-

wyf yn rhoddi fy einioes dros y defaid—myfi sydd yn ei dodi hi i lawr o honof fy hun. Y mae genyf feddiant i'w dodi hi i lawr, ac y mae genyf feddiant i'w chymmeryd hi drachefn. Y gorchymyn hwn a dderbyniais i gan fy Nhad." Dyma fachniaeth na bu erioed ei chyffelyb! Fe ddarfu i Dafydd mewn gŵynias o ofid am farwolaeth ei fab Absalom, ddymuno marw drosto ef, 2 Sam. xviii. 33. Fe wnai Reuben anturio bywyd ei ddau fab am Benjamin, Gen. xlii. 37. a Judah anturio ei fywyd ei hun am dano, Gen. xliii. 9. tra yr ydoedd etto obaith y byddai yr oll yn ddiogel. Eithr fe ddarfu i'n Harglwydd Iesu, yn y modd mwyaf pwyllog a boddhâol, wystlo ei fywyd ei hun dros bechaduriaid, yn wyneb gwybod yn y modd mwyaf diddadl, y byddai i'r gwystl gwerthfawr gael ei golli yn yr achos; ac y byddai'r farwolaeth a ddyoddefai yn fil o farwolaethau yn un. Fe ddarfu i rai gynnyg eu hunain yn fachnion mewn prif achosion, a chofleidio marwolaeth dros eu gwlad, neu eu cyfeillion. "O blegid dros y da ysgatfydd fe feiddiai un farw hefyd. Eithr y mae Duw yn canmol ei gariad tuag atom; o blegid a nyni etto yn bechaduriaid, (ac yn elynion) i Grist farw trosom ni," Rhuf. v. 7, 8, 10.

Yn awr, nid oedd yn machniaeth yr ail Adda, am ddyled troseddol ei holl hâd ysbrydol, un gwystl yn cael ei roddi am y taliad o hono; ond yn unig megis y mae'n gynnwysedig mewn machniaeth syml ac annichellgar: eithr yr oedd cyfnewid personau yn wyneb y gyfraith; fe ddarfu i Grist osod ei hun yn eu lle hwy, a chymmeryd eu holl rwymedigaeth hwy arno ei hun. I hyn y cydsyniodd rhydd ras Duw, y gofynwr, pan y gallasai fynu i'r enaid a bechodd i farw: ac heblaw hyn, efe a ganiatâodd oedi amser y taliad, a thrwy hyn fe eglurodd Duw ei ddyoddefgarwch, megis y mae yn cael

ei gyhoeddi gan yr apostol, Rhuf. iii. 25. A thrwy effaith yr ymroddiad hwn o eiddo Crist i'w deddfle hwy, efe a ddaeth yn ddyledwr yn ol y gyfraith, yn rhwym i dalu y dyled hwnw, yr hwn nis tynodd; ac "i dalu yr hyn nis cymmerodd," Psal. lxix. 4. O herwydd, trwy iddo ef ddyfod yn fachniydd drostynt hwy, i'r dyben i sylfaen gael ei gosod, yn ol y gyfraith a chyfiawnder, i ofyn y dyled o'u cospedigaeth hwy ganddo ef, fe ddarfu i'w heuogrwydd hwy gael ei drosglwyddo arno ef, Esay liii. 6. "A'r Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd." Yr oedd hyn yn cael ei nodi allan yn ngosodiad y dwylaw ar ben yr aberthau dan y gyfraith; yn enwedig ar ben y bwch diangol, Lef. xvi. 21. "A gosoded Aaron ei ddwylaw ar ben y bwch byw, a chyffesed arno holl anwiredd meibion Israel, a'u holl gamweddau hwynt yn eu holl bechodau; a rhodded hwynt ar ben y bwch." Fe ddarfu i holl bechodau yr holl etholedigion gael eu cyfrif i'r machniydd ar yr un waith, yn yr un modd ag y cyfrifwyd ei gyfiawnder ef yn eiddo i ni, hyny yw, yn nghyfrif y gyfraith, 2 Cor. v. 21. "Canys yr hwn nis adnabu bechod, a wnaeth efe yn bechod drosom ni; fel y'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef." Ac y mae efe ei hun yn llefaru felly am danynt, Psal. lx. 12. "Fy mhechodau a'm daliasant;" megis y mae llawer o ddehonglwyr dysgedig a duwiol yn deall, yn ol y modd y cyfarwyddir ni gan yr apostol, trwy ddangos mai Crist sydd yn llafaru yn y Psalm hon, Heb. x. 5, 6, 7. Yr oedd ef mewn gwirionedd heb ddim pechod ynddo, ond nid heb bechod yn cael ei gyfrif iddo, hyd nes y derbyniodd ei ryddhad oddiwrtho yn ei adgyfodiad, yn ol talu y dyled trwy ei ddyoddefaint a'i farwolaeth: yno efe a gafodd "ei gyfiawnhau yn yr ysbryd," 1 Tim. iii. 16. Ac felly efe "a ymddengys yr

ail waith, heb bechod," Heb. ix. 28. Trwy i'r pechod yr hwn oedd arno ef trwy gyfrifiad, y waith gyntaf yr ymddangosodd, gael ei ddileu yn ei adgyfodiad ef. Y mae y berthynas hon rhwng ein pechodau ni a Christ yn anhepgorol, yn ol natur machniaeth am ddyled; yn yr hwn achos nid oes neb yn ammau nad yw y dyled yn dyfod yn ddyledus ar y machniydd, pan un waith y rhodde ei law mewn llaw am dano. Pe amgen, pa fodd y gallasai y gyfraith, mewn cyfiawnder, roddi dim yn erbyn Crist? Pa fodd y gallasid, mewn cyfiawnder, roddi ein cospedigaeth ni arno ef, oni buasai fod y fath berthynas rhwng ein pechodau ni âg ef? Oni buasai fod gan y gyfraith awdurdod i gyfrif ein pechodau ni arno ef, trwy rinwedd ei ymroddiad ewyllysgar ef i'r fachniaeth, ni buasai ganddi un sail, mewn cyfiawnder, i roddi ein cospedigaeth ni arno ef.

Yn 2. Efe a ddaeth yn fachniydd am eu dyled hwy o wasanaeth neu ufudd-dod, yr hyn hefyd sydd ddyled yn iaith yr ysgrythur santaidd, Gal. v. iii. "Yn ddyledwr i gadw yr holl ddeddf." Yr oedd y gyfraith fel rheol y cyfammod gweithredoedd, er ei bod hi wedi ei thori ganddynt hwy, a hwythau trwy hyny wedi tynu ei chospedigaeth hi arnynt; etto heb golli ei hawl i ofyn, a mynu yr ufudd-dod hwnw oddiwrthynt hwy, yr hwn ar y cyntaf oedd hi yn ei ofyn gan ddyn fel ammod am fywyd. Yr oeddent hwy o hyd yn rhwym i roddi ufudd-dod perffaith, ac nis gallasent gael bywyd tragywyddol ar un tileran is; megis y mae ein Harglwydd yn dangos i'r cyfreithiwr am ei ymostyngiad, Luc x. 28. "Ti a attebaist yn uniawn: gwna hyn a byw fyddi." Fe allasai talu y dyled o gospedigaeth, foddloni o ran dirwy yr ysgrif-rwym (*bond*); eithr y mae ychwaneg etto yn ol iddo ef yr hwn a wnelo ymgreaeth yn

achosion y gyd-res doredig. Pa fodd y bydd i'r swm benaf yn yr ysgrif-rwym gael ei thalu; sef y dyled o ufudd-dod i'r gyfraith am fywyd a iachawdwriaeth? Nis gallasai anrhydedd Duw ganiatâu iddynt fod yn rhydd oddiwrtho: ac yr oeddent hwy yn gyfan-gwbl analluog i dalu un funud o hono, yn y modd y buasai yn dderbyniol yn y nef; yn gymmaint a'u bod hwy "yn weiniaid," Rhuf. v. 6. ac yn "feirw mewn camweddau a phechodau," Eph. ii. 1. yn gyflawn mor anghymhwys i'r rhan wnenthurol a'r rhan ddyoddefol. Eithr fe ddaeth Crist yn fachniydd am y dyled hwn o'u heiddo, hyny yw, y dyled o ufudd-dod i'r gyfraith fel rheol y cyfammod, yr hwn oedd, ac yw'r unig ufudd-dod iddi am fywyd; efe a ymrwymodd i ryddhau y dyled hwn, trwy ufuddhau yn eu lle hwy, a chyflawni'r hyn a allasai'r ddeddf ofyn ganddynt hwy, o'r natur hyn, Psal. lx.7, 8. "Yna y dywedais, Wele, yr ydwyf yn dyfod—da genyf wneuthur dy ewyllys, O fy Nuw: a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon." Mat. iii. 15. "Fel hyn y mae yn weddus i ni gyflawni pob cyfiawnder." Pen. v. 17. "Na thybiwch fy nyfod i dorri y gyfraith—ni ddaethum i dori ond i gyflawni."

Ac yma hefyd yr oedd cyfnewid personau yn ol y gyfraith; Crist yn gosod ei hun yn eu lle hwy, ac yn cymmeryd eu rhwymedigaeth hwy arno ei hun; trwy rinwedd yr hyn y daeth ef yn ddyledwr y gyfraith am yr ufudd-dod hwnw oedd yn ddyledus arnynt hwy; fe ddarfu iddo ef ei hun ddifrifol addef hyn, trwy gymmeryd ei enwaedu, Luc ii. 21. yn ol dystiolaeth yr apostol, Gal. v. 3. "Ac yr wyf yn tystiolaethu drachefn i bob dyn a'r a enwaedir, ei fod ef yn ddyledwr i gadw'r holl ddeddf." Canys trwy fyned yn fachniydd drostynt hwy yn y peth hwn, efe a drosglwyddodd arno ei hun eu sefyllfa o wasanaeth hwy, trwy'r hyn y cafodd y gyfraith

hawl i fynu ganddo ef y dyled hwnw, yr hwn yr oeddent hwy, ar doriad y cyfammod gweithredoedd, yn rhwymedig i'w dalu.

I'r dyben i egluro hyn, yr ydym i ystyried, fod holl ddynolryw, yn ol y cyfammod cyntaf, sef y cyfammod gweithredoedd, wedi eu gosod yn weision cyflog i Dduw; a hwy a aethant i mewn i'r gwasanaeth, yn weithredol, yn eu pen, yr Adda cyntaf. Ac yn brawf o hyn, yr ydym oll wrth natur, dan lywodraeth y duedd o ymwneud â Duw yn y ffordd hòno; er ein bod trwy'r cwdwm wedi myned yn hollol analluog i gyflawni y gwasanaeth, Luc xv. 19. "Gwna fi fel un o'th weision cyflog." Y gwaith yr oeddent i'w wneuthur, oedd perffaith ufudd-dod i'r gyfraith santaidd: y gyflog yr oeddent i'w gael am eu gwaith, oedd bywyd, Rhuf. x. 5. "Y dyn a wnêl y pethau hyny, a fydd byw trwyddynt." Y gosp am ymadael â'u meistr, oedd caethiwed dan y felldith, Gal. iii. 10. "Melldigedig yw pob un nid yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf, i'w gwneuthur hwynt." Eithr gan dori y cyfammod hwnw o'u gwasanaeth, hwy a ymadawsant â'u Harglwydd a'u Meistr; fel y darfu iddynt, nid yn unig golli pob hawl i'r gyflog, eithr hwy a ddaethant hefyd yn gaethweision dan y felldith; er hyny y maent yn rhwym i gyflawni'r gwasanaeth, a hyny, yn mhellach, yn y sefyllfa druenus o gaethiwed, Gal. iv. 24. "Y rhai hyn yw'r ddau destament; un yn ddiau o fynydd Sinai, yn cenedlu i gaethiwed." Fe ddarfu i'w syrthiad hwy dan y felldith gymmeryd ymaith eu rhyddid hwy, a'u gosod yn gaeth-weision; megis yr ymddengys oddiwrth natur y peth, yn amgylchiad rhai dan y felldith mewn achosion ereill, megis Gen. ix. 2. "Melldigedig fyddo Canaan, gwas gweision i'w frodyr fydd." Jos. ix. 23. "Yn awr gan hyny,

melldigedig ydych (sef y Gibeoniaid); ac ni ddiane un o honoch rhag bod yn gaeth-weision." Y mae hyd yn nod y ddaear, ar ol ei melldithio, (Gen. iii. 17.) yn dyfod dan gaethiwed, yn ol yr ysgrythyr, Rhuf. viii. 21.

Yn awr, Crist a ganfu ei holl hâd ysbrydol yn y sefyllfa hon o gaethiwed, eithr yn analluog i ddal anedwyddwch eu sefyllfa, na chyflawni'r gwasanaeth: yna efe a roddodd ei hun yn eu lle hwy, fel yr oeddent yn gaeth-weision; gan drosglwyddo eu caeth-sefyllfa hwy arno ei hun, ac felly efe a rwymodd ei hun yn gaeth-was drostynt hwy. Y mae'r ysgrythyr santaidd yn dangos y peth hwn mewn goleu eglur. Dyma dystiolaeth amlwg o hyn, Phil. ii. 6, 7, 8. "Yr hwn, ac efe yn ffurf Duw,—a gymmerodd arno agwedd gwas—gan fod yn ufudd hyd angeu, ie angeu'r groes." Yr agwedd gwas a gymmerodd efe arno, oedd agwedd caeth-was: canys felly y mae'r geiriau yn y iaith wreiddiol yn arwyddocâu; oblegid yr un gair yw ag a ddefnyddir yn gyson yn y Testament Newydd, yr hwn a ddarllenir genym ni, Caeth neu rydd, neu Caeth a rhydd, 1 Cor. xii. 13. Gal. iii. 28. Eph. vi. 8. Col. iii. 11. Dat. xiii. 16. a'r xix. 18. Ac y mae'r apostol yn ein harwain i ddeall y mater felly yma, gan fynegu i ni i'r Machniydd-was mawr hwn "fod yn ufudd hyd angeu, ie angeu'r groes:" yr hwn angeu oedd gospedigaeth Rhufeinaidd, ac yn cael ei alw ganddynt hwy, y gospedigaeth wasaidd, neu gospedigaeth y caeth-weision; o herwydd mai drwg-weithredwyr o gaethion a fyddai'n arfer cael eu barnu i'r farwolaeth hon; ni byddai'r rhai rhyddion ond yn anaml, os un amser, yn cael eu barnu yn ol y gyfraith i'r farwolaeth hon; ac yn gymmaint a bod y dystiolaeth o'i fod ef "yn ffurf Duw," yn dangos ei fod ef yn wir Dduw, yn feddiannol ar natur a hanfod Duw; canys y ffurf yw'r hyn sydd mewn modd

anhepgorol yn gwahaniaethu pethau, ac yn dangos y peth yr hyn yw yn y modd mwyaf manol; a'r ffurf hon, yn ol golygiad yr apostol, yw sylfaen cyd-raddyddiaeth Crist a Duw Dad, yr hon ffurf nis dichon lai na bod yr hyn yw yr hanfod Ddwyfol: o ganlyniad y mae ei waith ef yn cymmeryd arno agwedd caeth-was, yn profi ei sylweddol ddyfodiad ef yn gaeth-was; mewn modd anhepgorol, mor wirioneddol ag y daeth un dyn erioed, o'r rhai a ddygwyd i gaethiwed, neu gaeth-wasanaeth. Y mae'r Tad yn difrifol egluro y trosglwyddiad o'n sefyllfa o gaeth-wasanaeth ni ar Grist, gan lafaru wrtho ef dan yr enw Israel; megis yr eglurwyd o'r blaen, Esay xlix. 3. "Fy ngwas i ydwyt ti, Israel, yr hwn yr ymogoneddaf ynot." Megis pe dywedasai'r Tad, Fy Mab, bydded hysbys, ein bod ni wedi cyduno i mi dy gymmeryd di i'r gyfrwng yn lle Israel, yr hâd ysbrydol, i gyflawni'r gwasanaeth sydd ddyledus arnynt hwy, trwy rinwedd eu hundeb â'r cyfammod gwreiddiol toredig: tydi, yn eu lle hwy yw fy ngwas i; fy ngaeth-was (megis y mae'r gair yn cael ei gyfieithu yn Lef. xxv. 39. ac mewn lleoedd ereill) o dy law di yr edrychaf am y gwasanaeth hwnw. Yn gydunol â hyn y mae'r hanes yr ydym yn ei gael am ein prynedigaeth oddiwrth y felldith, Gal. iii. 13. sef iddi gael ei dwyn oddiamgylch trwy i Iesu Grist gael "ei wneuthur yn felldith drosom ni: canys y mae yn ysgrifenedig, Melldigedig yw pob un sydd yn nghrog ar bren:" yr hyn a wnaeth Crist, trwy farw ar y groes, yr hon oedd brif gospedigaeth y caethion.

Wele ddifrif-ddwysder y trosglwyddiad, Psal. xl. 6. "Aberth ac offrwm nid ewyllysiaist; agoraist fy nghlustiau!" Y mae'r gair a gyfieithir yma, agoraist, yn arwyddocâu cl*odd*-

iaist, megis y gellir gweled ar ymyl y ddalen yn ein Biblau: ac felly, y modd y mae'r geiriau yw, "Cloddiaist fy nghlustiau trwodd;" hyny yw, tyllaist, megis y dangosir yn y Psalm ar gân; "Tyllaist fy nghlustiau." Y mae gan hyn olygiad eglur ar y gyfraith hòno mewn perthynas i'r caeth-was, Ecs. xxi. 6. "Yna dyged ei feistr ef at y barnwyr; a dyged ef at y ddôr, neu at yr orsin; a thylled ei feistr ei glust ef â mynawyd; ac efe a'i gwasanaetha ef byth;" hyny yw, yn ol iaith y gyfraith, hyd farw. Y mae hyn yn cael ei gadarnhau yn Hos. iii. 2. "A mi a'i prynais hi i mi er pymtheg o arian;" yr hyn oedd hanner y pris sefydlog am y gaeth-ferch, Ecs. xxi. 32. Y mae yn y iaith wreiddiol, "A mi a'i cloddiais hi trwodd i mi;" y mae'r un gair yn cael ei ddefnyddio yma gan yr Ysbryd Glân, ag yn Psal. xl. 6. Y mae ef yn air cynnwysfawr, ac yn effeithiol yn ei arwyddocâd; a'r synwyr o hono yw, Mi a'i prynais hi, ac a dyllais ei chlust hi wrth riniog fy nôr, i fod yn gaeth-forwyn i mi, yn ol y gyfraith, Deut. xv. 17. "Yna cymmer fynawyd, a dod trwy ei glust ef, ac yn y ddôr; a bydded yn was i ti byth: felly hefyd y gwnai i'th forwyn." Nid oedd tyllu ei chlust hi fel caeth-forwyn, mewn un modd yn anghyson â'i dyweddiad hi gan y proffwyd iddo ei hun, Hos. iii. 3. fel yr ymddengys oddiwrth Ecs. xxi. 8.

Yr oedd Joseph yn gysgod ardderchog o Grist, fel gwas y Tad. Y mae yn amlwg ei fod ef yn gyntaf yn gaeth-was, ac yn ganlynol yn was anrhydeddus. Yn y sefyllfa flaenaf wedi ei "werthu yn was," Psal. cv. 17. yr oedd efe yn gysgod o Grist, yn gaeth-was yn ei sefyllfa o ddarostyngiad; yr hwn y gwerthwyd ei fywyd tra gwerthfawr, gan Judas, am ddeg ar hugain o arian, y pris sefydledig am fywyd caeth-was, yn ol Ecs. xxi. 32. "Os gwasanaethwr neu was-

anaethferch, a gornia yr ŷch; rhodded i'w perchenog ddeg sicl ar hugain o arian, a llabyddier yr ŷch." Yn y sefyllfa olaf wedi ei wneuthur yn "llywodraethwr ar holl wlad yr Aipht," Psal. cv. 21, 22. Gen. xli. 40, 41. yr oedd efe yn gysgod o Grist, yn y gwasanaeth, neu'r weinidogaeth dra anrhydeddus a gogoneddus a roddwyd iddo yn ei sefyllfa o dderchafiad, yn yr hon yr ar-osodwyd ef yn was; fel y byddai i'r "ynysoedd ddysgwyl am ei gyfraith ef."—"O herwydd i Dduw roddi iddo enw, yr hwn sydd goruwch pob enw; fel yn enw Iesu y plygai pob glin," Phil. ii. 9, 10. Y mae'r gwasanaeth olaf hwn yn perthyn i addewid y cyfammod: eithr y cyntaf, sef ei gaeth-wasanaeth, gan ei fod yn perthyn i'w fachniaeth-wasanaeth ef, sydd yn perthyn i ammod y cyfammod: o herwydd paham, gan gyfodi oddiwrth y meirw, wedi cyflawni ammod y cyfammod, trwy dalu'r dyled am yr hwn y daeth ef yn fachniydd, a chyfodi'r tâl-nod (*discharge*), efe a roddodd heibio dros byth, yr agwedd a'r enw o gaeth-was, ac a "adgyfododd, ac a fu fyw drachefn hefyd, fel yr arglwyddiaethai ar y meirw a'r byw hefyd," Rhuf. xiv. 9.

Ac oddiyma yr ymddengys yn amlwg, pa fodd y mae ufudd-dod y dyn Crist Iesu, yn dyfod, trwy rinwedd y cyfammod, i gael ei gyfrif i gredinwyr er cyfiawnder, yn gystal â'r boddlonrwydd a roddodd trwy ddyoddef: o herwydd nid oedd y fath ufudd-dod ag a gyflawnwyd ganddo ef, fel ein machniydd ni, yn ddyledus arno ef, mwy nâ'r boddlonrwydd a roddodd trwy ddyoddef, ond fel yr oedd yn gynnwysedig yn nghyttundeb y fachniaeth drosom ni. Y mae'n wir fod ar natur ddynol Crist, gan ei bod hi yn greadur, y dyled o ufudd-dod i Dduw trwy rinwedd ei chreadigaeth; a hi a fydd felly byth,

gan fod y creadur, fel creadur, yn ddarostyngedig i gyfraith natur; yr hon yw tragywyddol reol cyfiawnder: eithr yr oedd gwaith Crist yn gosod ei hun mewn sefyllfa o gaeth-wasanaeth; gan gymmeryd arno agwedd caeth-was, ac mewn sefyllfa caeth-was, gyflawni ufudd-dod i'r gyfraith, megis yr oedd wedi ei sefydlu yn y cyfammod, am fywyd a iachawdwriaeth, yn weithred hollol wirfoddol.

Yr oedd ufudd-dod i gyfraith natur yn ddyledus ar y dyn Crist, trwy gwlwm naturiol: eithr nid oedd yn ddyledus arno roddi ufudd-dod i'r gyfraith osodedigol, gan ymrwymo i gymmeryd ei enwaedu a'i fedyddio, a'r cyffelyb; yr hyn sydd yn arwyddo euogrwydd ar y neb a fyddo'n ddarostyngedig iddo, ond trwy ei ymrwymiad gwirfoddol ei hun. Yr oedd ufudd-dod mab i gyfraith natur, yn ddyledus arno ef, yn naturiol: eithr nid oedd yn ddyledus arno roddi ufudd-dod i'r gyfraith hon, nac i un gyfraith arall, mewn sefyllfa caeth-was, a thrwy hyny ennill bywyd a iachawdwriaeth, ond trwy rwymau cyfammod. Yr oedd gan natur ddynol Crist gyflawn hawl i fywyd tragywyddol, ac yr oedd yn wirioneddol yn y meddiant o hono, trwy rinwedd ei hundeb â'r natur Ddwyfol; fel nad oedd un achos iddo ef ennill bywyd iddo ei hun trwy ei ufudd-dod: o herwydd paham, yr oedd gwaith Crist yn cymmeryd arno ei hun agwedd caeth-was, ac yn y sefyllfa hono ufuddhau i'r gyfraith am fywyd a iachawdwriaeth, yn waith hollol wirfoddol o'i eiddo ef, fel machniydd dros bechaduriaid; trwy'r hyn y gwnaeth ef y peth nid oedd ef yn rhwym iddo mewn un modd, ond trwy ei wirfoddol fachniaeth. Yn awr, yn gymmaint ag mai'r ufudd-dod hwn yn unig o eiddo Crist, yw'r ufudd-dod a gyfrifir i gredinwyr, er cyfiawnder, y mae sail eglur am y cyfrifiad o hono iddynt hwy, yn ol y cyfammod.

Ac yn y modd hwn y cawsom weled fod machniaeth Crist yn y cyfammod, o'r un natur a machniaeth am dalu dyled un; a pha beth oedd y dyled y daeth ef yn fachniydd am dano. Os gofynir, "Pa un a oedd, neu nad oedd machniaeth Crist, hefyd, o natur machniaeth un am y cyflawniad o weithred?" neu, "Pa un a ddaeth Crist yn fachniydd mewn ffordd o ymrwymiad i'w Dad, y byddai i'r etholedigion gredu, edifarhau, a chyflawni ufudd-dod diffuant?" Yr ydwyf yn atteb, er fod credu, edifarhau, ac ufuddhau diragrith yr etholedigion, wedi eu sicrhau mewn modd anffaeledig yn y cyfammod; fel y mae'n amlwg, y bydd i bawb a fyddo byw, a marw, heb y pethau hyn, ag y sy'n addas iddynt, fod yn ddiddadl y'ngafael y farwolaeth dragywyddol, ac nid ydynt o nifer etholedigion Duw: etto yr ydwyf yn barnu na ddaeth Crist yn fachniydd yn y cyfammod, mewn ffordd o ymrwymiad i'w Dad, y byddai i'r etholedigion gyflawni y gweithredoedd hyn, nac unrhyw weithredoedd ereill; ac nad ydyw'r dull hyny o lafaru yn cydunо'n dda â desgrifiad yr ysgrythyr o'r cyfammod. O herwydd;

Yn 1. Y mae hyn mewn gradd yn tywyllu gras, rhydd ras y cyfammod; (pan y mae'r cyfammod yn fwriadol wedi ei drefnyd felly, fel yr egluro ras yn y modd mwyaf cnwog, yn bod "o ffydd, fel y byddai yn ol gras," Rhuf. iv. 16.) o herwydd byddai'r fath fachniaeth, neu fod yn rhwym dros yr etholedigion, ar iddynt gyflawni'r fath bethau, o angenrheidrwydd yn perthyn i ammod y cyfammod, mewn modd priodol; megis gweithred o eiddo'r Cyfryngwr, trwy'r hon y mae ef yn addo rhyw beth i Dduw, ac yn ymrwymo y caiff y peth hwnw ei gyflawni ganddynt hwy: ac felly byddai raid fod y pethau hyny a gyflawnid ganddynt hwy, yn ol ei addewid ef, o angenrheidrwydd yn rhan o ammod y cyfam-

mod. Eithr nis gellir caniatâu fod pechaduriaid eu hunain yn cyflawni un rhan o ammod y cyfammod, mewn modd priodol, heb niweidio gras y cyfammod: o herwydd mor belled ag yr ydym ni, yn ein personau ein hunain, yn cyflawni un rhan o'r ammod, nid yw'r gwobr o ras, ond o ddyled; canys "i'r neb sy'n gweithio, ni chyfrifir y gwobr o ras, ond o ddyled," Rhuf. iv. 4. Eithr y mae'r gwobr yn hollol o ras i ni, megis y mae o ddyled i Grist; canys, "i'r neb nid yw yn gweithio, ond yn credu yn yr hwn sydd yn cyfiawnhau'r annuwiol, ei ffydd ef a gyfrifir yn gyfiawnder," adn. 5. Rhuf. xi. 6. ac os o ras, nid o weithredoedd mwyach: os amgen, nid yw gras yn ras mwyach. Meddyliwn fod dyn yn feichiau am fil o bunnau dros ei gymmydog, yr hwn ar y sail hyny sydd i gael hawl i ryw elw gwerthfawr; a bod y dyn hwn yn dyfod yn feichiau am yr holl swm yn gyfan-gwbl, ond un cant ceiniog, am yr hwn gant ceiniog y mae efe yn ymrwymo hefyd, y bydd iddynt gael eu talu gan yr hwn yr ymrwymodd efe drosto: y mae'n amlwg fod ansawdd, neu ammod y cyttundeb hwn, yn rhanedig, rhwng y machniydd a'r dyledwr, er bod eu rhanau yn dra anghydradd: ond er mor dra anghydradd y maent, etto mor belled ag y mae'r cant ceiniog, a dalodd y dyledwr yn ei bersen ei hun yn cyrhaedd, mor bell a hyny y mae'r elw o ddyled iddo ef: neu gosoder yr achos fel y canlyn; y machniydd yn ymrwymo am yr oll o'r swm sydd ddyledus; ac heblaw hyny, yn machnio am ymarweddiad da y dyledwr; y mae'n amlwg yn yr achos hwn, fod ymarweddiad da y dyledwr, yn rhan o'r ammod yn y cyttundeb, yn gystal a thalu'r arian, gan fod yr hwn sydd i gyfranu yr elw yn rhwym o gael ysgrif-rwym am hyny. Yn ol y dull hyn drachefn, byddai'r ammod yn rhanedig rhwng y meichiau a'r dyledwr; ac y mae'r olaf

yn cyflawni rhan o hono, yn gystal a'r blaenaf; ac felly y mae'r gwobr o ddyled, mewn rhan iddo ef, yn gystal ag i'r machnïydd. Y mae'r cymhwysiad o hyn at yr achos mewn llaw yn hawdd i'w ddirnad: y mae swm y mater yn gynnwysedig yn hyn; os darfu i Grist yn y cyfammod ddyfod yn fachniydd mewn ffordd o ymrwymiad dros ei bobl, ar iddynt gyflawni rhyw weithred, y mae'r cyflawniad o ammod y cyfammod, yn y modd mwyaf priodol, wedi ei ranu rhwng Crist a hwy, bydded eu rhanau mor anghydradd ag y byddont: ac os yw'n cyflawniad o'r ammod wedi ei ranu rhwng Crist a hwy; mor belled ag y mae eu rhan hwy o'r cyflawniad yn myned, y mae'r gwobr o ddyled iddynt hwy, yr hyn sy'n tywyllu gras y cyfammod.

Yn 2. Yn gydunol â'r ysgrythyrau, y mae credu, edifarhau, ac ufuddhau diragrith, yr etholedigion, yn perthyn i'r rhan addewidiol o'r cyfammod; os gwnawn ni eu hystyried hwy yn eu sefyllfa wreiddiol, y maent yn gynnwysasau wedi eu haddo yn y cyfammod gan Dduw i Grist y machniydd; fel gwobr am ei waith yn cyflawni ammod y cyfammod. Ac felly, y maent wedi eu diogelu gan anghyfnewidiol wirionedd Duw, a'i berffaith gyfiawnder, goruwch pob posiblrwydd o iddynt fethu dyfod i ben; Psal. xxii. 27. "Holl derfynau'r ddaear a gofiant ac a droant at yr Arglwydd." Adn. 30. "Eu hâd a'i gwasanaetha ef." Adn. 31. "Deuant ac adroddant ei gyfiawnder ef i'r bobl a enir." Psal. cx. 3. "Dy bobl fyddant ewyllysgar yn nydd dy nerth." Edrych Esay liii. 10. y'nghyd â'r adn. 1. Ezec. xxxvi. 26, 27, 31. Heb. viii. 9, 10, 11. os gofynir, I bwy y gwnaethpwyd yr addewidion hyn, a'r addewidion o'r cyffelyb natur trwy'r Bibl? y mae'n amlwg fod amryw o honynt wedi eu gwneud i Grist yn bendant; ac y mae'r apostol yn atteb megis am danynt oll, Gal. iii. 16.

"I Abraham y gwnaethpwyd yr addewidion ac i'w had ef—ac i'th hâd di, yr hwn yw Crist."* ac er fod addewidion sicr, yn y rhai y mae Crist ei hun yn oruchwyliwr, megis Ioan vi. 37. "Yr hyn oll y mae'r Tad yn ei roddi i mi, a ddaw ataf fi;" nid ydyw hyn yn golygu ymrwymiad Crist i'w Dad, megis yn ymrwymo ar i weithred gael ei chyflawni gan yr hâd: eithr yn hyny y mae'n llafaru wrth ddynion, fel gweinyddwyr y cyfammod, i'r hwn yr ymddiriedwyd y gorchwyl o gyfranu i bechaduriaid, y bendithion a bwrcaswyd ganddo ef, trwy ei ufudd-dod a'i farwolaeth, ac a drosglwyddwyd iddo ef trwy addewid y Tad, Mât. xi. 27, 28. "Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad: deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch." Luc xxii. 29. "Ac yr wyf fi yn ordeinio (neu yn rhoi yn fy ewyllys) i chwi deyrnas, megis yr ordeiniodd fy Nhad (neu y rhoddodd yn ei ewyllys) i minnau." Hyd yma am fachniaeth Crist yn y cyfammod.

III. *Crist yn Offeiriad y cyfammod.*

Megis yr oedd yn angenrheidiol i Grist, yr ail Adda, i'r dyben o gyflawni rhan gwaredwr-cyfathrachol, ddyfod yn fachniydd yn y cyfammod; felly yr oedd yn angenrheidiol i'r dyben o gyflawni yr hyn y daeth ef yn fachniydd am dano, iddo fod yn offeiriad. Ac yn gydunol â hyn, trwy roddi ei gydsyniad i'r cyfammod, efe a ddaeth yn offeiriad y cyfammod, Heb. ix. 11. "Eithr Crist wedi dyfod yn arch-offeiriad y daionus bethau a fyddent." Y mae offeiriad yn berson cyhoedd; yr hwn sy'n masnachu â Duw digllawn, yn enw'r euog, am gymmod, trwy aberth, yr hwn y mae efe yn ei offrymu i Dduw ar allor, wedi ei alw gan Dduw i hyny, fel y byddo efe yn dderbyniol: felly y mae offeiriad yn dangos perthynas âg allor, ac allor

berthynas âg aberth, ac aberth berthynas â phechod.

Yn wyneb bod y rhai hyny ag yr oedd Crist yn eu cynnrychioli yn y cyfammod, yn bechaduriaid, efe a ddaeth yn offeiriad iddynt, yn arch-offeiriad iddynt, gan ymddangos gerbron Duw yn eu henw hwynt, i wneud iawn a chymmod drostynt hwy: a thyma'r peth mawr yr oedd yr oll o'r offeiriadaeth dan y gyfraith, ac yn enwedig yr arch-offeiriadaeth, yn ei gysgodi, ac yn cyfeirio ato. Eu natur hwy, (sef y natur ddynol) oedd y gwisgoedd offeiriadol a wisgodd efe, i gyflawni ei swydd offeiriadol ynddi; yr hon oedd bur a dihalog ynddo ef: ac yn eu natur hwy, efe a gynhaliodd eu personau hwy, gan eu cynnrychioli hwy gerbron Duw, fel eu Harch-offeiriad mawr. Cysgod bywiog o hyn oedd Aaron yn ei waith yn dwyn enwau meibion Israel, y deuddeg llwyth, ar ei ysgwyddau, yn ysgwyddau'r ephod, gerbron yr Arglwydd; yr enwau wedi eu naddu ar ddau faen onics, a'u gosod yn yr ephod, yn ol Dwyfol osodiad, Ecs. xxviii. 9, 10, 12. megis hefyd yr oedd ef waith yn eu dwyn yn y ddwyfroneg, wedi eu naddu ar ddeuddeg maen, a'u gosod ynddi, ad. 15—29; fel hyn yr oedd Aaron, yr arch-offeiriad, yn Israel oll, yn gynddrychedigol; cysgod ardderchog o Grist, Offeiriad y cyfammod, yr Israel ysbrydol yn gynddrychedigol, Esay xlix. 3.

Y mae'r angenrheidrwydd o i Grist, yr ail Adda, ddyfod yn offeiriad, yn ymddangos yn y pethau hyn a ganlyn, wrth eu hystyried yn un.

Yn 1. Yr oedd y rhai yr oedd ef yn eu cynnrychioli yn bechaduriaid; ac nis gallasai cyfammod newydd gael ei wneud, heb i barotoad gael ei wneud tuag at symud ymaith eu pechod; ac yr oedd hyny yn galw am offeiriad. Fe wnaethpwyd y cyfammod cyntaf heb offeiriad, o herwydd nad oedd dim pechod y pryd hwnw

i'w gymmeryd ymaith: yr oedd y personau oedd yn cael eu cynnrychioli ynddo, yn gystal a'r cynnrychiolwr, yn cael eu llystyried yn ddieuog. Eithr yr oedd yr ail gyfammod yn gyfammod o heddwch a chymmod rhwng Duw digllawn a phechaduriaid; ac nid oedd i gael ei wneud ond trwy gyfryngwr o offeiriad, yr hwn a fyddai'n alluog i symud ymaith bechod, ac adgyweirio anrhydedd Duw, oedd wedi ei niweidio. Zech. vi. 13. "Bydd yn offeiriad hefyd ar ei frenin-fainc: a chyngor hedd a fydd rhyngddynt ill dau." Ac nid oedd neb yn addas i'r sefyllfa hòno, ond Crist ei hun: nid oedd un dyn yn alluog i'r swydd; o herwydd bod pawb o ddynion yn bechaduriaid eu hunain; a'r "cyfryw Arch-offeiriad santaidd, diddrwg, dihalog, didoledig oddiwrth bechaduriaid, ac wedi ei wneuthur yn uwch na'r nefoedd, oedd weddus i ni;" Heb. vii. 26. Y mae'n wir fod yr etholedig angelion yn ddihalog mewn gwirionedd: er hyny nis gallasai un o honynt hwy fod yn offeiriad y cyfammod: o herwydd,

Yn 2. Nis gallasai pechod gael ei symud heb aberth a fuasai'n ddigonol werth, yr hyn nid oeddent hwy yn alluog i'w roddi. Yr oedd yn rhaid i'r cyfammod newydd fod yn gyfammod trwy aberth; yn gyfammod wedi ei ysgrifenu mewn gwaed: "Ac heb ollwng gwaed nid oes maddeuant," Heb. ix. 22. Gan hyny ni wnaethpwyd y cyfammod cysgodol âg Abraham, heb y dwys gyflawniad o aberth, Gen. xv. 9. fel y byddai iddo ef wybod fod y cyfammod yn gyfammod o adheddychiad, yn yr hwn ni ddarfu i'r Duw cyfiawn ddangos ei drugaredd, ond mewn ffordd gydunol âg anrhydedd ei gyfiawnder.—Yn awr, yr oedd aberthau'r anifeiliaid, ie, a pha bèth bynag a allasai'r creadur ei roddi, yn yr achos hwn, yn anfeidrol islaw y gwerth. Eithr fe ddaeth Iesu Grist yn offeiriad, "ac a'i

rhoddodd ei hun yn aberth i Dduw," i sicrhau'r cyfammod; ac yr oedd yr aberth hwnw "o arogl peraidd," Eph. v. 2. neu fel y mae'r Hen Destament yn ei ymadroddi, "arogl o orphwysfa," Gen. viii. 21. ymyl y ddalen. Yr oedd y rhai oedd yn cael eu cynnrychioli, trwy fod yn bechaduriaid, yn llygredig ac yn ffiaidd gerbron Duw; ac yr oedd ef megis yn arogli arogl o anesmwythder oddiwrthynt hwy, trwy eu bod yn "fŵg yn ei ffroenau ef," Esay lxv. 5. Yr oedd eu pechodau hwy yn gosod ei ddialeddol gyfiawnder ef, a'i ddigofaint, mewn ysgogiad: eithr yr oedd aberth Crist ei hun yn ddigonol i anfon y fath arogl esmwyth at Dduw, ag a fuasai yn cyflawn orchfygu'r arogl ffiaidd oedd yn cyfodi oddiwrthynt hwy, a dwyn ei gyfiawnder dialeddol, a'i ddigofaint, i orphwys yn y modd mwyaf tawel.

Yr oedd yr angenrheidrwydd o aberth yn yr ail gyfammod, yn deillio oddiwrth fod cyfiawnder Duw yn gofyn am i felldith y cyfammod cyntaf toredig gael ei gweinyddu; trwy yr hyn y buasai'r pechadur yn myned yn aberth am ei bechod, yn ol hyny, Psal. xciv. 23. "Ac efe a dâl iddynt eu hanwiredd, ac a'u tyr ymaith yn eu drygioni." Yr oedd yn hen ddefod mewn gwneuthur cyfammodau, i dori anifail yn ddau, ac i dramwy rhwng y darniau: ac yr oedd y tramwy hyny rhwng y darniau yn golygu syrthiad melldith y cyfammod ar y torwr o hono, Jer. xxxiv. 18. "A mi a roddaf y dynion a droseddodd fy nghyfammod, y rhai ni chwblhasant eiriau'r cyfammod a wnaethant ger fy mron, wedi iddynt fyned rhwng rhanau'r llo, yr hwn a holltasent yn ddau;" neu yn hytrach, mewn modd mwy cydunol â'r iaith wreiddiol, "Mi a wnaf y dynion a droseddodd fy nghyfammod— y llo yr hwn a dorasant yn ddau, ac y tramwy-

asant rhwng y rhanau o hono:" hyny yw, Mi a'u gwnaf hwy fel y llo hwnw yr hwn a dorasant yn ddau; mi a gyflawnaf y felldith arnynt hwy, gan eu gwahanu hwy fel torwyr cyfammod, Mat. xxiv. 51. Yn awr, â'r cyfammod gweithredoedd wedi ei dori, yr oedd cyfiawnder yn gofyn am y gweinyddiad o'r felldith hon o eiddo y cyfammod, mewn trefn i sefydlu'r cyfammod newydd, y cyfammod o ras a heddwch. Eithr pe buasai'r felldith yn cael ei gweinyddu ar y pechaduriaid eu hunain, fe fuasai tân digofaint yn llosgi yn barhâus arnynt hwy; ond ni buasai y fath aberth byth yn rhoddi'r fath arogl peraidd, ag a fuasai'n arogl o esmwythdra i gyfiawnder dialeddol; yn gymmaint ag nad oeddent, nid yn unig ond creaduriaid, dyoddefiadau mwyaf arteithiol y rhai nis gallasai fod yn ddigonol iawn am yr anfri ar anrhydedd Duw anfeidrol; eithr yr oeddent hwy yn greaduriaid pechadurus hefyd, ag a fuasent yn parhau yn bechadurus dan eu dyoddefiadau. O herwydd paham, fe ddarfu i Iesu Grist, yr hwn oedd ddidoledig oddiwrth bechaduriaid, ac yn ogyfuwch â Duw, gydsynied yn y cyfammod i fod yr aberth, ar yr hwn y byddai i felldith y cyfammod cyntaf gael ei chyflawni, yn eu lle hwy.

Y mae hyn yn cael ei ddarlunio mewn modd bywiog yn y cyfammod a wnaethpwyd âg Abraham, yn yr hwn yr oedd efe yn gysgod o Grist, Gen. xv. Yn y cyfammod hwnw fe addawodd Duw wared hâd Abraham o gaethiwed yr Aipht, a rhoddi iddynt wlad Canaan; cysgod o waredigaeth hâd ysbrydol Crist o gaethiwed diafol a phechod, a'r gosodiad o honynt yn y meddiant o'r nef, adn. 13, 14, 16, 18. Ofnadwy oedd y dwys-gyflawniad a ddefnyddiwyd yn y gwneuthuriad o'r cyfammod hwn. Fe gymmerwyd anner, a gafr, a hwrdd, pob un o honynt yn dair blwydd oed; yn cysgodi Crist, yr hwn a fu

oddiamgylch dair blynedd yn ei weinidogaeth gyhoeddus, adn. 9. Fe ranwyd pob un o'r rhai'n yn y canol, gan ei hollti hwynt yn ddau ar hyd eu canol; yr hyn oedd yn cysgodi y gweinyddiad o felldith y cyfammod cyntaf torredig, ar Grist ein machniydd ni, a'r aberth drosom ni, adn. 10. Yr oedd gwaith Abraham yn tarfu'r adar oddiar y celaneddau, yn cysgodi buddugoliaeth Crist ar y diaflaid, yn gyson trwy holl sefyllfa ei ddarostyngiad, ac yn neillduol ei oruchafiaeth arnynt hwy ar y groes, adn. 11. Ac yn ddiweddaf, yr oedd ffwrn yn mygu, a lamp danllyd yn tramwyo rhwng y darniau; yr hyn oedd yn arwydd o ddialeddol lid Duw yn cymmeryd gafael ar Grist yr aberth, a chyfiawnder trwy hyny yn cael ei foddloni, adn. 17.

Yn 3. Nis gallasai un aberth fod yn dderbyniol, ond ar y fath allor ag a fuasai yn santeiddio y rhodd, yn gyfattebol i'w dyben gosodiadol, a'i gwerth angenrheidiol, Mat. xxiii. 29. a phwy a allasai gyflawni hyny ond Crist ei hun, yr hwn yr oedd ei natur Ddwyfol ef yn allor, o'r hon y cyrchodd aberth ei natur ddynol ef, ei annherfynol werth a'i heffeithiolrwydd? Heb. ix. 14. "Pa faint mwy y bydd i waed Crist, yr hwn trwy'r Ysbryd tragywyddol a'i hoffrymodd ei hun yn ddifai i Dduw, buro eich cydwybod chwi oddiwrth weithredoedd meirwon i wasanaethu y Duw byw?" ei gorff bendigedig ef yn dyoddef, ac yn gwaedu i farwolaeth ar y groes; a'i enaid santaidd ef yn deifio, ac yn toddi o'i fewn ef, gan dân y Dwyfol lid; y ddau ar yr un pryd mewn undeb â'i natur Ddwyfol ef, oedd yr aberth oedd yn llosgi ar yr allor; oddiwrth yr hwn yr aroglodd Duw arogl esmwyth, trwy yr hyn y cyflawn ddyhuddwyd ei ddigofaint, ac y cyflawn foddlonwyd ei gyfiawnder: ac nid yn unig tra yr oedd Crist ar y groes yr oedd ef yn

aberth; eithr efe a ddechreuodd offrymu ei hun yn aberth oddiar ei gnawdoliad yn y groth; yr oedd yr aberth yn cael ei osod ar yr allor ganddo, yn enyd cyntaf ei gnawdoliad, a'i ddwyn y'mlaen trwy ei holl fywyd, a'i gwbl-orphen ar y groes, ac yn y bedd. Heb. x. 5, 7. "O herwydd paham y mae efe, wrth ddyfod i'r byd, yn dywedyd, Aberth ac offrwm nis mynaist, eithr corff a gymhwysaist i mi:—yna y dywedais, Wele fi yn dyfod." Esay liii. 2, 3. "Pan edrychom arno, ni bydd pryd fel y dymunem ef.—Gwr gofidus a chynnefin â dolur." 2 Cor. v. 21. "Yr hwn—a wnaeth efe yn bechod drosom ni."

Yn olaf, yr oedd yn rhaid cael offeiriad i offrymu yr aberth hwn, yr aberth gwerthfawr hwn, i Dduw, ar yr allor hono; pe amgen, nis gallasai un aberth fod i gael ei dderbyn, ac felly nis gallasai pechod gael ei symud; ac o ganlyniad, nis gallasai un cyfammod newydd fod. A chan mai Crist ei hun oedd yr aberth a'r allor hefyd, efe ei hun yn unig a allasai fod yr offeiriad. A chan fod pwys iachawdwriaeth pechaduriaid yn gorphwys ar ei alwad ef i'r swydd, fe'i gwnaethpwyd ef yn offeiriad y cyfammod trwy lw Duw, Heb. vii. 20, 21. A chan fod ganddo gyflawn awdurdod ar ei fywyd ei hun, i wneuthur ei hun yn aberth dros ereill, yr oedd gwaith ei Dad yn ei ddifrifol urddo ef felly i'r swydd trwy lw, yn rhoddi dyfodfa iddo ef i offrymu ei hun yn effeithiol; ie, yn y fath fodd ag y byddai iddo trwy hyny gyflawni ammod y cyfammod, a phwrcasu bywyd tragywyddol iddynt hwy.

—ooo—

## CASGLIAD ODDIWRTH YR AIL BEN.

Mi a gaf ganad i fynu y pen hwn, o "wneuthuriad y cyfammod gras," â dau gasgliad oddiwrth y cwbl.

*Cas.* 1. Nid yw'r hyn sydd i bechaduriaid i'w

wneuthur, fel y byddont yn bersonol, ac yn gadwedigol mewn cyfammod â Duw, ddim i'w wneud fel pleidiau yn ammodi, neu'n ymrwymo mewn cyfammod am fywyd a iachawdwriaeth; eithr yn unig cymmeryd gafael ar gyfammod Duw, yr hwn sydd barod wedi ei wneud er tragywyddoldeb, rhwng y Tad a Christ, yr ail Adda, ac yn cael ei egluro a'i gynnyg i ni yn yr efengyl, Esay lvi. 4, 6. nid oes genyf un bwriad trwy hyn i fychanu ein cyfammodau, y rhai a wnaethpwyd gan ein hynafiaid duwiol er mwyn diwygiad gwladol, ac yn cael eu galw'n gyffredinol y cyfammodau gwladol, a'r cyngrair difrifol â'r cyfammod; ar y rhai y gosododd Duw sel ei foddlonrwydd mewn adnabyddiaeth brofiadol i lawer. Y mae y rhai hyn, a'u cyffelyb, yn gyfammodau dyledswyddau; ac o ganlyniad yn addas ddigon i ymarfer â hwynt, i'r dyben i gymmeryd gafael ar gyfammod gras Duw. Nis gwnawn ychwaith anghefnogi neb eneidiau difrifol i gymmeryd gafael ar gyfammod gras Duw, er iachawdwriaeth a bywyd tragywyddol iddynt eu hunain, yn y modd mwyaf difrif-ddwys ag y byddai modd i eiriau egluro, ie a thrwy ysgrifenu a thansgrifio, y peth â'u llaw; yr hyn a elwir yn gyffredin yn gyfammodi personol.

Eithr myfi a fynwn i bawb fod yn ochelgar rhag ymarfer â halogi y cyfammod gras, trwy wneuthur cyfammodau o'u heiddo eu hunain, ar y cyfryw a'r cyfryw ammodau, y rhai a gyflawnant hwy am fywyd a iachawdwriaeth. Fe ddarfu i'r Iuddewon gnawdol trwy gam ddeall dyben rhoddiad y gyfraith, halogi y cyfammod gras; gan ddysgwyl am fywyd a iachawdwriaeth, nid er mwyn yr hâd addewedig yn unig, eithr am eu hufudd-dod hwy, y fath ag ydoedd, i'r gyfraith foesol a seremoniol. Ac yn y modd hyn, y mae llawer trwy feddwl fod iachawdwr-

iaeth dragywyddol yn cael ei chynnyg iddynt yn y gair, ar yr ammod o ffydd, edifeirwch, ac ufudd-dod diragrith i gyfraith Duw, yn rhoddi eu cydsyniad i'r ammodau hyn, ac yn ddifrifol ymrwymo i'w cyflawni; gan rwymo eu hunain i'r cyfryw a'r cyfryw ddyledswyddau, yn unig fel y byddo i Dduw gadw eu heneidiau: ac felly y maent yn gwneud eu cyfammod: a thra y gallont berswadio eu hunain eu bod hwy yn cyflawni eu rhan hwy o'r cyfammod, y maent yn dysgwyl am fywyd a iachawdwriaeth oddiar hyny: y mae hyn yn llwyr ddadymchwelyd natur y cyfammod gras; o herwydd "i'r neb sydd yn gweithio, ni chyfrifir y gwobr o ras, ond o ddyled," Rhuf. iv. 4. "ac os o weithredoedd, nid yw o ras mwyach," pen. xi. 16. Y mae pechadurusrwydd yr ymarferiad hwn yn fawr, megis yn edrych dros hen Crist, yr ymrwymwr mawr, a'r Person gosodedig gan y Tad i ymgyfammodi âg ef; a gosod eu hunain yn ei le ef, i wneuthur a gweithio drostynt eu hunain am fywyd. Ac y mae'n rhaid fod y perygl o hyn yn fawr, gan eu bod yn gosod sylfaen i gynnal pwys eu hiachawdwriaeth, yr hon y gwelodd doethineb Dwyfol ei bod yn gwbl analluog i'w chynnal hi. Y canlyniad a raid fod o hyn yw, y bydd i'r fath gyfammodwyr gael gorwedd i lawr mewn galar; megis y mae'r apostol yn penderfynu, Gal. v. 4. "Chwi a aethoch yn ddifudd oddiwrth Grist, y rhai ydych yn ymgyfiawnhau yn y ddeddf: chwi a syrthiasoch ymaith oddiwrth ras."

Ein rhan ni gan hyny, yn yr achos hwn yw, yn unig cymmeryd gafael ar gyfammod Duw, sydd yn barod wedi ei wneud, ac yn cael ei ddangos a'i gynnyg i ni yn yr efengyl. Y mae'r afael hon yn cael ei chymmeryd trwy ffydd, yr hon yw llaw'r enaid, yn ol iaith yr ysgrythyrau, Ioan i. 12. Felly y mae dull yr ymadrodd yn y

iaith wreiddiol yn amlwg yn ei gynnwys, Esay lvi. 4, 6. "A ymaflo yn sicr yn fy nghyfammod." Yn yr hwn ymadroddiad y mae'r gair cydberthynol "llaw" (a enwir, Gen. xxi. 18.) i gael ei ddeall; y meddwl yw, Yr hwn *a sicrhao* (ei law) *yn fy nghfammod;* hyny yw, "Yr hwn trwy'r llaw o ffydd a gymmero afael sicr yn fy nghyfammod," megis yr ymaflodd Adoniah y'nghyrn yr allor, 1 Bren. i. 50. yn yr hwn le y mae'r un fath ymadrodd yn cael ei arfer. Ac yr ydych yn gwneuthur hyn, trwy gymmeryd gafael ar Grist yn addewid rad yr efengyl; gan gredu ei fod ef yn cael ei ddal allan i chwi yn neillduol; a thrwy hyny rhoddi eich goglyd arno, a'ch ymddiried ynddo fel eich Gwaredwr, am eich iachawdwriaeth oddiwrth bechod a'r digofaint, ar y sylfaen o ffyddlondeb Duw yn yr addewid, sef, "na chollir pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol:" o herwydd y mae efe wedi ei roddi yn gyfammod i chwi, Esa. xlix. 8. a'i dderbyn ef yw credu yn ei enw ef, Ioan i. 12.

Hyn yw ein gwaith yn gwneuthur cyfammod â Duw trwy aberth, yn ol y dystiolaeth, Psal. l. 5. Yr ymadroddiad o hyn yn y iaith wreiddiol yw, "A dorodd fy nghyfammod ar aberth;" hyny yw, trwy osod eu dwylaw mewn ffydd ar ben yr aberth, ag a oedd trwy hyny yn cael ei dori lawr yn eu lle hwy: ac felly yn seremoniol yn trosglwyddo eu heuogrwydd ar yr aberth; eithr yn wirioneddol ac yn ysbrydol yn cymmeradwyo'r ddyfais ar drefn o iachawdwriaeth trwy Iachawdwr croshoeliedig, ac yn cyduno â hi, fel yr unig drefn o iachawdwriaeth iddynt hwy. Yn y ffordd hon o gyfammodi, y mae rhydd ras y cyfammod yn cael ei gadw yn bur ac yn gyflawn: o herwydd "i'r neb nid yw yn gweithio, ond yn credu yn yr hwn sydd yn cyfiawnhau yr annuwiol, ei ffydd ef a gyfrifir yn

gyfiawnder," Rhuf. iv. 5. Yma y mae'r anrhydedd o fod yr unig ymrwymwr, a'r cyfammodwr yn y cyfammod, o du'r pechadur, yn gydunol â gosodiad y Tad, yn cael ei adael i Grist, yr "un cadarn," Psal. lxxxix. 19. Yma y mae'r ail Adda yn adeiladu'r deml, heb i ni osod un gareg ynddi yn ein personau ein hunain; yn yr un modd ag y darfu i'r Adda cyntaf ei dinystrio hi, heb i ni dynu i lawr un gareg o honi yn ein personau ein hunain: ac y mae Crist yn dwyn y gogoniant personol o'r adgyweiriad o honi, yn yr un modd ag y mae'r Adda cyntaf yn dwyn y bai personol o'r dinystriad o honi, Zec. vi. 13. Ac yn y modd hwn y mae'r enaid mewn amser, drosto ei hun, yn rhoddi ei ddifrifol gymmeradwyad i'r cyfammod a wnawd er tragywyddoldeb, a chydsyniad personol, i'r hyn y cydsyniodd Crist iddo, er tragywyddoldeb yn ei enw ef: yn yr un modd ag y mae'r dywysoges, sydd yn priodi trwy ddirprwy yn ei babandod, yn cymmeradwyo'r cwbl wedi dyfod i'w hoedran, trwy dderbyn ei gwr.

Megis y mae holl hâd Adda, fel y cyfryw, trwy gymmeryd iachawdwriaeth at eu calon, yn ymgyfammodi â Duw, a thrwy hyny mewn effaith yn ail wneuthur y cyfammod o weithredoedd, yr hwn a wnawd âg Adda eu cynnrychiolwr: felly y mae holl hâd yr ail Adda, fel y cyfryw, yn eu gwaith yn cymmeryd iachawdwriaeth at eu calon, ac yn ymgyfammodi â Duw, trwy hyny mewn effaith yn ail wneuthur y cyfammod gras, yr hwn a wnaethpwyd â Christ eu cynnrychiolwr. Yn ngwneuthuriad y cyfammod, cyn dechreu'r byd, fe ddarfu i'r Tad osod gerbron i Grist, fel ail Adda, eu pen a'u cynnrychiolwr hwy, ar iddo ef gymmeryd y baich arno ei hun drostynt hwy, a bod eu Gwaredwr cyfathrachol hwy, eu machniydd hwy am eu dyled hwy o gosp a gwasanaeth, a'u

hoffeiriad hwy: ac fe gydsyniodd Crist i hyny er tragywyddoldeb. Amen, felly y bo, o'm rhan i, medd yr enaid etholedig mewn amser, yn nydd yr ymgyfammodiad: y mae'r drefn yn aufeidrol dda; yr ydwyf fi yn bechadur colledig, yn ddyledwr i gyfiawnder Dwyfol, yn greadur euog; efe, trwy gydsyniad fy holl galon a fy holl enaid, yw fy ngwaredwr-cyfathrachol, fy machniydd, fy offeiriad: y mae fy rhan i o gospedigaeth a gwasanaeth yn rhan dra mawr o'r dyled hwnw yr ymrwymodd ef iddo; eithr y mae fy enaid yn llwyr fodd'lon i'r, ac yn cyflawn orphwys ar y ffordd hon o'i dalu ef, 2 Sam. xxiii. 5. "Cyfammod tragywyddol a wnaeth efe â mi, (Hebraeg, Efe a osododd i mi gyfammod tragywyddol)—fy holl iachawdwriaeth a'm holl ddymuniad *yw*." Fe ddywedodd y Tad wrth Grist, fel eu cynnrychiolwr hwy, Am i ti wneuthur a dyoddef fel hyn, "Mi a fyddaf yn Dduw iddynt hwy, a hwythau a fyddant yn bobl i mi." Amen, medd Crist er tragywyddoldeb: "A'r eiddof fi oll sydd eiddot ti," Ioan xvii. 10. Amen, o'm rhan innau, medd yr enaid etholedig yn amser y cyfammodiad personol. Y mae'n rhaid i'r galon hon o fy eiddo i gael rhyw Dduw: y mae'n rhaid i mi fod yn perthyn i'r naill neu'r llall; a rhy hir y bum i yn eiddo arall: eithr yn awr, coed y tŷ, a cherig y mur, a fyddant dystion, fod fy enaid yn fodd'lon i, yn cydsynio â, ac yn ymorphwys yn y drefn hon o fy meddiannu i, a'm llywodraethu i; sef y bydd i Dduw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist fod yn Dduw i mi yn Nghrist, a minnau yn un o'i bobl ef, o hyn allan byth.

Y mae'r ffordd hon o ymgyfammodi yn anghydsyniol â'r bwriad neu'r dymuniad o fyw mewn pechod; yn yr un modd ag y mae gwaith un yn cyflwyno ei hun i ddwylaw meddyg, yr hwn sydd yn gwella yn ddifeth, yn anghydsyn-

iol â dymuniad i gadw yr afiechyd i hongian o'i amgylch. A chan fod Crist wedi ei "wneuthur i ni gan Dduw yn ddoethineb, ac yn gyfiawnder, ac yn santeiddrwydd, ac yn brynedigaeth," 1 Cor. i. 30. y mae o angenrheidrwydd yn cynnwys ynddo, y derbyniad o Grist yn Broffwyd, yn Offeiriad, yn Frenin, ac yn Arglwydd i ni; megis y mae'r cyfryw un o angenrheidrwydd yn rhoddi ei hun i'w lywodraethu gan y meddyg. Yn hyn y mae un yn ymgyssylltu â Christ fel ei ben cyfammodol, yr hwn hefyd yw gweinyddwr y cyfammod; ac felly yn darostwng ei hun i'w ddysgeidiaeth a'i lywodraeth ef. Ac y mae hon y fath ffordd o ymgyfammodi, ag nas gall, ac nis gallodd, un person halogedig a rhagrithiol, a byw felly, byth ymostwng iddi. O herwydd yn 1. Y mae hi yn dangos boddlonrwydd calon i ymadael â phob pechod; a chyflawn foddlonrwydd i'r oll o iachawdwriaeth Crist; yn mhrif ddyben yr hon y mae'n gynnwysedig, "wared ei bobl oddiwrth eu pechodau," Mat. i. 21. pan y mae yr ymgyfammodwyr anghywir bob amser yn ymrwystro wrth ryw beth neu gilydd yn Nghrist, pen. xi. 6. 2. Y mae'r agwedd neu'r ffordd hon yn dangos fod yr enaid wedi llwyr ddarfod â phob hunan ymddiried, i wneuthur a gweithio am fywyd a iachawdwriaeth; ac yn gwaelodi ar yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd Crist yn unig i'r dyben hyny. Ac yn y modd hyn y mae'r ymgyfammodwr hwn, trwy fod yn "dlawd yn yr ysbryd," Mat. v. 3. "ac yn gorfoleddu yn Nghrist Iesu, ac nid yn ymddiried yn y cnawd," yn cael ei wahaniaethu oddiwrth yr rhagrithiwr rhyfygus, yr hwn y mae ei hyder am fywyd a iachawdwriaeth, bob amser yn ymddibenu ar ei wneud a'i weithio ef ei hun, un ai yn hollol neu mewn rhan: megis hefyd y mae yn yr un modd yn cael ei wahaniaethu oddiwrth yr anghredadyn anobeithiol, yr hwn nid oes

ganddo un hyder yn Nghrist, nac ynddo ei hun, am fywyd a iachawdwriaeth; pa mor gadarn bynag y gallo gredu am ereill: felly y mae'r ffydd hon, yr ymgyfammodi hwn, yn beth hollol wahanol oddiwrth gau ffydd y rhagrithiwr halogedig a rhyfygus; neu'r anobeithiol diffydd, yr ammeuwr anwadal, yr hwn nis gall fod yn sefydlog mewn gradd mwy neu lai o hyder yn Nghrist am iachawdwriaeth iddo ei hun, Iago i. 6. "Eithr gofyned mewn ffydd, heb ammeu dim: canys yr hwn sydd yn ammeu, sydd gyffelyb i dòn y môr, a chwelir ac a deflir gan y gwynt." Adn. 7. "Canys na feddylied y dyn hwnw y derbyn efe ddim gan yr Arglwydd."

Os oes neb yn meddwl fod y ffordd hon o gredu neu ymgyfammodi, yn ffordd esmwyth, y maent un ai yn ei chamsynied hi, neu heb ei phrofi. Y mae credu oddiar ryw sail a welom ynom ein hunain, yn beth hollol naturiol: eithr credu ar sail mewn arall yn unig, sef iachawdwriaeth yn Nghrist, a ffyddlondeb yn Nuw, pan y mae'r oll ynom ein hunain yn arwain i beri i ni anobeithio, sydd uwchlaw cyrhaedd natur. Fe wna cydwybod wedi ei dihuno yn drwyadl, argyhoeddi'r pechadur, ei fod ef yn beth â'r anhawsdra mwyaf ynddo.

*Cas.* 2. Y mae ffydd gyfiawnhâol, er ei bod hi yn derbyn Crist yn ei holl swyddau, fel Proffwyd, Offeiriad, a Brenin; etto yn ei gwaith hi yn ein gosod ni yn bersonol yn y cyfammod, ac yn ein cyfiawnhau, y mae hi yn ei olygu ef yn ei swydd offeiriadol yn neillduol; hyny yw, fel yr Arch-offeiriad mawr, yr hwn a wnaeth gymmod dros bechod trwy ei aberthu ei hun; fel y machniydd, yr hwn a ymrwymodd ac a gyflawnodd y taliad o'r dyled o gospedigaeth a gwasanaeth; ac fel y gwaredwr-cyfathrachol, yr hwn wedi priodi ein natur ni â'r natur Ddwyfol ynddo ei hun, a ryddhâodd yr etifeddiaeth oedd

wedi ei gwystlo â'i waed ei hun, ac a roddodd ei hun yn iawn drosom ni i'n gwaredu ni o'n caethiwed ysbrydol, a thrwy ei farwolaeth ei hun a ddinystriodd yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo. Rhuf. iii. 25. "Yr hwn a osododd Duw yn iawn, trwy ffydd yn ei waed ef." Pen. v. 11. "Ein Harglwydd Iesu Grist, trwy yr hwn yr awr hon y derbyniasom y cymmod." Yma y mae'r cysur i gydwybod archolledig, glaf gan euogrwydd pechod, yn gynnwysedig. Hon yw'r swydd hòno o eiddo Crist, at yr hon y mae'r pechadur wedi ei argyhoeddi, yn derchafu ei lygaid, ac yn gwneud ei redfa ati am ddiogelwch, pan y byddo yn sefyll dan grynu gerbron Barnwr cyfiawn y byd: oblegid yno, ac yno yn unig, y gall un weled iawn, a chyfiawnder, a chymmod. Yn ei swydd Broffwydoliaethol, a'i swydd Frenhinol, y mae ef yn gweinyddu y cyfammod: eithr yn ei swydd Offeiriadol y mae ef yn cyflawni ammod y cyfammod. Felly y mae hi yn sylfaen y ddwy arall. Trwy ei aberthu ei hun, y pwrcasodd efe y gair, ac ysbryd y cyfammod, trwy'r hyn y mae efe yn dysgu pechaduriaid; a thrwy hyny hefyd yr ennillodd efe ei deyrnas: ac y mae ei eiriolaeth ef wedi ei sylfaenu ar ei offrwm ef. Felly y mae ei swydd offeiriadol ef, a'i hystyried hi yn bennodol yn y pwnc o'i waith ef yn offrymu ei aberth, megis careg sylfaen, yn cynnal pwys iachawdwriaeth pechaduriaid, a phwys anrhydedd Duw a'r Cyfryngwr yn hyny. O herwydd paham, nid yw ryfedd i'w urdd-osodiad ef i'r swydd offeiriadol gael ei gadarnhau trwy lw Duw; yr hwn ddifrifddwysder ni arferwyd yn y gosodiad o hono yn ei swydd broffwydoliaethol, na'i swydd frenhinol.

Hyd yma am wneuthuriad y cyfammod gras.

---

J. Jenkins, Argraffydd, Merthyr.

# PEN III.

## Y RHANAU O'R CYFAMMOD GRAS.

RHANAU y cyfammod gras, sef y pethau y cytunwyd ynddynt rhwng Duw a Christ, yr ail Adda, ydynt ddau; sef, y rhan *ammodol*, a'r rhan *addewidiol* ynddo. Y mae y rhai'n yn cynnwys yr oll o'r cyfammod; ac am danynt hwy ni a ymddiddanwn mewn trefn.

*Y rhan gyntaf o'r cyfammod: sef, y rhan ammodol.*

Yr ammod o gyfammod neu gytundeb, mewn dull priodol a chyffredinol o enwi, yw y rhan hòno o gyfammod neu gytundeb, ar y cyflawniad o'r hyn y mae hawl y person i'r elw a addawir yn cael ei sylfaenu, a'i ddadl am dano yn cael ei sefydlu, ei fod yn ddyledus iddo ef am ei gyflawniad. Y mae hyn yn ansawdd ammodol, yn ansawdd gyfammodol, neu yn ammod o gyfammod; a'r hyn y mae yr oll o ddynion, yn ei ddeall, mewn ymddiddan cyffredinol, wrth ansawdd cyfammod neu gytundeb. Ac er siampl, y mae y taliad o'r cyfryw swm o arian am y cyfryw eiddo, yn ol y cytundeb rhwng y pleidiau, yn ammod y cyfammod o fasnach, gwerthiad, neu farsiandiaeth: y mae gweithio y cyfryw ran o waith, neu wneuthur y cyfryw weithred, am y cyfryw wobr ac y cytunwyd arno gan y pleidiau; yn ammod y cyfammod o wasanaeth neu gyflog.

Heblaw hyn, y mae hefyd yr hyn sydd yn cael ei alw yn *ammod o gyssylltiad*, neu drefn mewn cyfammod; trwy yr hyn y mae un peth o angenrheidrwydd yn myned o flaen y llall, yn y drefn

o'r cyfammod, heb fod y sylfaen, ar yr hon y mae hawl a theitl y person i'r peth arall hwnw, yn cael ei sylfaenu. Megis, yn y siamplau blaenorol, y mae gwaith y prynwr yn derbyn y nwyf, a'r gwas cyflog yn derbyn y wobr, yr ammodwyd ag y cytunwyd am danynt, o angenrheidrwydd yn myned o flaen y meddiant a'r mwynhad o honynt; eithr y mae yn eglur, mai nid y derbyniad hwnw yw y peth y mae hawl a theitl y prynwr i'r nwyf, na hawl a theitl y gwas cyflog i'r wobr, yn cael ei sylfaenu arno; gan hyny, er y gall ef gael ei alw yn *ammod o gyssylltiad*, yn y cyfammodau priodol, etto nis gall mewn un addasrwydd ymadrodd gael ei alw yn ammod o honynt.

Yn awr i gymhwyso y pethau hyn at ein dyben. Yn y drefn o'r cyfammod gras, yn gymmaint a bod yn rhaid i'r meddiant o'r yspryd fyned o flaen ffydd, ffydd o flaen cyfiawnhad, cyfiawnhad o flaen santeiddhad, santeiddrwydd o flaen dedwyddwch y nef; fe all y rhai hyn gael eu galw yn ammodau *yn* y cyfammod gras, sef, ammodau o wir gyssylltiad: ac y mae hyn yn perthyn i'r drefn osodedig o addewid y cyfammod, yr hyn sydd yn wrthwahanedig i'r ammod o'r cyfammod. Er hyny nis gall y fath ammodau, gael eu galw, mewn un ystyr briodol, yn ammod neu ammodau y cyfammod gras; mwy nag y gall gwaith y prynwr yn derbyn y nwyf gael ei alw yn ammod y cyfammod o gytundeb neu werthiad. Eithr yr ammod *o'r* cyfammod gras, mewn dull briodol o enwi, yw Crist mewn agwedd caeth-was, fel Adda diweddaf, cynddrychiolwr, gwaredwr-cyfathrachol, machniydd, ac offeiriad, yn cyflawni pob cyfiawnder ac oedd ddyledus i Dduw oddiwrth ei hâd ysbrydol ef, trwy doriad y cyfammod gweithredoedd, Mat. iii. 15, "Fel hyn y mae yn weddus i ni gyflawni pob cyfiawnder."

I'r dyben o egluro y meddwl hwn, mi a gaf, 1. Arddangos mai hyn yw ammod y cyfammod; 2. Egluro ac agor y cyfiawnder hwnw, y cyflawniad o'r hwn a wnaethpwyd yn ammod y cyfammod.

Yn gyntaf, I arddangos mai hyn yw ammod y cyfammod gras, ystyriwn,

1. I Grist gyflawni pob cyfiawnder, fel ail Adda, yw yr hyn a osododd y Tad gerbron iddo ef, fel ammodau ar y rhai y byddai i'w hâd ef gael eu hachub, ac ar yr hyn y sylfaenodd ef ei addewid o roddi iddynt fywyd tragywyddol; ac nid un ammod na gwaith o'u heiddo hwynt, Esa. liii. 10. "Pan osodo efe ei enaid yn aberth dros bechod, efe a wel ei hâd." Adn. 11. "O lafur ei enaid y gwel, ac y diwellir: fy ngwas cyfiawn a gyfiawnha lawer trwy ei wybodaeth; canys efe a ddwg eu hanwireddau hwynt." Luc xxii. 20. "Y cwpan hwn yw y testament newydd yn fy ngwaed i, yr hwn yr ydys yn ei dywallt drosoch." A'r un peth yw yr hyn y cydsyniodd Crist iddo, a gymmerodd arno ac yr ymrwymodd am dano, fel ail Adda, er tragywyddoldeb; a'r hyn y darfu iddo mewn amser, yn ol y cytundeb, ei gyflawni. Felly y mae ef ei hun yn ei ddangos ef, Mat. iii. 15. "Fel hyn y mae yn weddus i ni gyflawni pob cyfiawnder;" sef, fel y mae yn gweddu i berson o urddas ac ymddiried i gyflawni ei gytundeb, Luc xxiv. 26. "Onid oedd raid i Grist ddyoddef y pethau hyn?" sef megis y mae yn rhaid i un gyflawni yr ammod o'r cyfammod neu'r cytundeb y byddo wedi cytuno iddo.

2. Hyn yw unig sylfaen hawl a theitl y pechadur am fywyd tragywyddol: ac nis gall sylfaenu ei ddadl mewn modd diogel ar ddim arall gerbron yr Arglwydd, am fywyd a iachawdwriaeth, Eph. i. 7. "Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau; yn ol

cyfoeth ei ras ef," Phil. iii. 8, 9. "Fel yr ennillwyf Grist, ac y'm caer ynddo ef heb fy nghyfiawnder fy hun—ond y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd." Yn ddiau, ar ammod y cyfammod wedi ei chyflawni, fe all un sylfaenu ei hawl gerbron yr Arglwydd, am y cymmwynasau a addawyd yn y cyfammod: eithr nis gall un dyn sylfaenu ei hawl gerbron yr Arglwydd am y rhai hyn, ar un ammod na gwaith o'i eiddo ei hun; na all, hyd y nod ar ffydd ei hun; eithr yn unig ar waith Crist yn cyflawni pob cyfiawnder: gan hyny, nis gall un ammod na gwaith o'n heiddo ni beth bynag y fyddo ef, hyd y nod ffydd ei hun, fod yn ammod y cyfammod gras, mewn modd priodol o'i enwi felly; eithr yn unig *Crist yn cyflawni pob cyfiawnder*. Y mae y pechadur sydd yn sefyll yn llys y gydwybod, ac yn crynu gerbron yr Arglwydd, yn ffoi dan gysgod y cyfiawnder hwnw a gyflawnwyd gan y machniydd, ac ni faidd gyferbynu dim ond efe i gollfarnedigaeth y gyfraith; gan roddi i fynu bob dadleuon ereill am fywyd a iachawdwriaeth. Dadleu ar y sylfaen hòno yw credu yn Nghrist, nid sylfaen dadl y pechadur; y mae yn dywedyd, *Fy Arglwydd a'm Duw*, yn yr addewid, ar y sail o i Grist gyflawni pob cyfiawnder, yn unig, fal ammod y cyfammod. Os gwna neb ei ffydd yn sail eu dadl, y mae yn rhaid iddynt eu dangos fel gweithred y ddeddf, hyny yw, fel gweithred yn cael ei chyflawni ganddynt hwy, trwy yr hyn y darfu iddynt hwy gyflawni ac atteb y gyfraith, ac ar yr hyn y maent hwy yn deisyf y budd a addawyd: yr hyn a fydd, yn ol yr ysgrythyr, yn anturiaeth enbyd, Rhuf. iii. 20. Gal. ii. 16. a'r 5. 4.

3. Trwy hyn, a hyn yn unig, y mae iachawdwriaeth pechaduriaid yn dyfod yn ddyled: gan hyny, hyn yn unig yw ammod y cyfammod. O herwydd y mae y wobr iddo ef, ac ef yn unig, yr

hwn sydd yn cyflawni ammod y cyfammod; "I'r neb sydd yn gweithio," *nid* " i'r neb nid yw yn gweithio, ond yn credu," Rhuf. iv. 4. 5. Ac felly y mae o ddyled i Grist yn unig, ac nid i ni: ac wrth hyny efe oedd yr hwn a gyflawnodd ammod y cyfammod; nid ydym ni yn cyflawni un rhan o hono. Y mae hyn yn cael ei gadarnhau oddiwrth sefyllfa wreiddiol dynolryw, mewn perthynas i fywyd tragywyddol, y'ngyfammod yr Adda cyntaf, o'i iawn ystyried. Yr ammod o hwnw oedd berffaith ufudd-dod gweithredol. Ac, yn ol natur y cyfammod hwnw, pe y buasai i'r ufudd-dod hwn gael ei gyflawni gan Adda, buasai bywyd tragywyddol iddo ef a'i eiddo, oddiar hyny yn dyfod yn ddyled iddo ef. Ac ni buasai dadl ei hiliogaeth ef am fywyd, yn yr achos hwnw, yn cael ei sylfaeni ar eu hufudd-dod personol hwy eu hunain, oedd yn dyfod ar ol y cyflawniad hwnw; gan nas buasai yn gyflawniad o'r ammod, eithr y ffrwyth o addewid y cyfammod: eithr buasai yn cael ei sylfaenu ar y cyflawniad hwnw o eiddo Adda, eu cynddrychiolwr hwy; yn gymmaint ag y buasai yn yr achos hwn, yr unig ufudd-dod trwy yr hwn y buasai ammod y cyfammod hwnw yn cael ei gyflawni. Ac felly hwy a fuasent yn cael bywyd, nid am un ammod na gwaith o'u heiddo hwy yn bersonol; eithr am ufudd-dod yr Adda cyntaf, eu cynddrychiolwr, i'r hyn y gwnaeth Duw yr addewid o fywyd mewn modd grasol yn y cyfammod cyntaf.

4. Cymmwynasau ydyw ffydd ac ufudd-dod yn cael eu haddo yn y cyfammod, ar yr ammod o hono, megis yr arddangoswyd o'r blaen; a thrwy rinwedd addewid y cyfammod, y maent yn cael eu cyfansoddi yn yr etholedigion: gan hyny nis gallant fod yn ammod y cyfammod. Ac y mae y babanod etholedig yn cael eu hachub, er nad ydynt yn alluog i gredu, nac i ufuddhau; er

hyny, y mae yn rhaid i ammod y cyfammod o angenrheidrwydd gael ei chyflawni, un ai ganddynt hwy eu hunain, y rhai a achubir, neu gan arall yn eu lle hwy. Gan hyny, Crist yn cyflawni pob cyfiawnder, yr hyn yw yr unig ufudddod a gyflawnwyd yn eu lle hwynt, a raid fod yr unig briodol ammod o'r cyfammod.

Yn olaf, y mae y cyfammod gras yn cauad allan ein hymffrost ni, yn y fath ffordd ag nad oedd y cyfammod gweithredoedd. Y mae hyn yn eglur oddiwrth Rhuf. iii. 27. "Pa le gan hyny y mae y gorfoledd? efe a gauwyd allan. Trwy ba ddeddf? ai deddf gweithredoedd? Nagê; eithr trwy ddeddf ffydd." Eithr os unrhyw ammod neu weithred o'n heiddo ni yw ammod y cyfammod gras, yn gyflawn neu mewn rhan, nid yw ein hymffrost wedi eu chauad allan, eithr y mae ganddi le ynddo, fel yn y cyfammod gweithredoedd; nid yw y gwahaniaeth, ar y mwyaf; ond mewn gradd yn unig: oherwydd, yn ol yr ysgrythyr, gweithio, neu gyflawni yr ammod o gyfammod, sydd yn rhoddi y sail i ymffrost, yn gymmaint ag mai "i'r neb sydd yn gweithio y cyfrifir y wobr o ddyled:" a chan fod bywyd o, neu trwy weithredoedd yn y cyfammod gweithredoedd, er mai nid yn y ffordd o briodol haeddiant, eithr mewn ffordd o gytundeb, neu gyfammod yn unig, fe roddodd hyn i ddynion y sail o ymffrost yn y cyfammod hwnw, yn ol yr ysgrythyr. Gan hyny, mor belled ag y mae bywyd a iachawdwriaeth o, neu trwy un ammod neu waith o'n heiddo ni, megis yn cyflawni ammod y cyfammod gras, nid yw ein hymffrost wedi ei chauad allan, eithr y mae ganddi le ynddo, fel yn y cyfammod gweithredoedd. Oherwydd paham, gan fod y cyfammod gras wedi ei lunio felly, fel nas gadawyd un sail i'n hymffrost ni ynddo, nid un ammod na gweithred o'n heiddo ni, eithr Crist yn cyflawni pob cyfiawnder; ie, hyny yn unig, yw ammod y cyf-

ammod gras: ac nid yw ein bywyd a'n iachawdwriaeth ni, nac o weithredoedd, na thrwy weithredoedd, megis yn cyflawni ammod y cyfammod. Tit. iii. 5. "Nid o weithredoedd cyfiawnder y rhai a wnaethom ni, eithr yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni." Eph. ii. 9. "Nid o weithredoedd fel nad ymffrostiai neb." Na adawed Duw i ni fyned oddiamgylch i wthio ffydd ac ufudd-dod allan o'r cyfammod gras! y rhai a wnant hyny, mewn egwyddor neu ymarferiad, a wnant trwy hyny, wthio eu hunain allan o deyrnas nefoedd, Mat. v. 19. "Pwy bynag gan hyny a doro un o'r gorchymynion lleiaf hyn, ac a ddysgo i ddynion felly, lleiaf y gelwir ef yn nheyrnas nefoedd;" hyny yw, fe a'i trinir ef fel y triniodd yntef yr un gorchymyn hwnw; fe'i barnir ef yn annheilwng o gymdeithas y deyrnas hono. Y mae ffydd yn angenrheidiol i roddi hawl achubol i ni yn Iesu Grist, pen y cyfammod: ac nis gall neb gyrhaeddyd i ddedwyddwch tragywyddol, heb wir gredu, o'r rhai sydd yn abl i hyny; ac nis gall neb ei chyrhaeddyd hi heb fod ysbryd ffydd yn preswylio ynddynt: y mae ufudd-dod yn angenrheidiol, megis y dyben îs-raddol penaf o'r cyfammod, gan ei fod ef y peth trwy yr hyn y mae Duw yn cael y gogoniant a arfaethodd iddo ei hun, yn hyny; ac oni ddechreu ufudd-dod yma, ni chaiff neb, o'r rhai sydd yn abl i ufuddhau, weled y nef. Eithr er hyny y mae yn angenrheidiol, iddynt gael eu cadw yn y lle a'r sefyllfa a osodwyd iddynt yn y cyfammod gan y Tad a'r Mab, er tragywyddoldeb. Trwy ffydd yr ydym yn bersonol yn cofleidio y cyfammod, yn rhoddi ein cydsyniad i, ac yn gorphwys yn ammod y cyfammod wedi ei chyflawni gan Grist; ac felly yn cael ein cyfiawnhau a'n dwyn i gyflwr achubol, Ioan x. 9. "Myfi yw y drws: os â neb i mewn trwof fi, efe a fydd cadwedig." Cymharwch Ioan i. 12. a'r iii. 16. a'r xiv. 6. Trwy edifeirwch

efengylaidd, ac ufudd-dod yr efengyl, yr ydym yn tystiolaethu ein diolchgarwch i Dduw, ac yn profi gwirionedd ein ffydd, a'n bod o fewn y cyfammod. 1 Ped. ii. 9. "Chwychwi ydych rywogaeth etholedig, brenhinol offeiriadaeth, cenedl santaidd, pobl briodol i Dduw; fel y mynegoch rinweddau yr hwn â'ch galwodd allan o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni ef:" adn. 10. "Y rhai gynt nid oeddych bobl, ond yn awr ydych bobl i Dduw: y rhai ni chawsech drugaredd, ond yr awr hon a gawsoch drugaredd." Cymharwch Rhuf. vi. 13. a xii. 1, 2. 1 Cor. vi. 20.

Hyn oedd y proffwyd yn ei ddysgu i'r eglwys Iuddewig gynt, Mich. vi. 8. "Dangosodd efe i ti, ddyn, beth sydd dda: a pha beth a gais yr Arglwydd genyt, ond gwneuthur barn, a hoffi trugaredd, ac ymostwng i rodio gydâ'th Dduw?" Yn adn. 6. y gosodir y gofyniad mwyaf pwysfawr, mewn perthynas i gymmeradwyad y pechadur gydâ Duw, pa fodd y cyrhaeddir ef; "A pha beth y deuaf gerbron yr Arglwydd?" Ac y mae amryw ddyfais werthfawr yn cael ei gosod gerbron i'r dyben hyny gan y pechadur, hyd y nod rhoddi "ffrwyth ei groth dros bechod ei enaid," adn. 6. 7. Eithr y mae y proffwyd yn atteb y gofyniad hwnw mewn gair, gan edliw iddynt yn ddystaw eu bod yn anferth o hyrt, yn eu gwaith yn palfalu am y mur ar ganol dyddgoleu, fel yn y nos: "Dangosodd efe i ti, ddyn, beth sydd dda:" hyny yw, beth sydd dêg, gwerthfawr, a derbyniol, y'ngolwg Duw i'r dyben hyny; sef i bechadur ennill maddeuant a derbyniad gydâ Duw; sef, yr Eneinniog, Iesu Grist, wedi ei aberthu dros bechaduriaid. Hyn oedd y peth oedd gan Dduw o hyd, trwy ei broffwydi, a thrwy yr oll o'r gyfraith seremoniol, yn cael ei nodi allan iddynt, a'i osod o'u blaen hwynt, megis y da i'r dyben hyny, fel y byddai iddynt hwy trwy ffydd edrych tuag ato a bod yn gadwedig,

Esay xlv. 22. Ac yn iaith yr Ysbryd Glân, y mae Crist wedi ei groeshoelio, mewn llefydd ereill yn cael ei olygu yn yr un ystyr, 2 Cron. xxx. 18, 19. "Yr Arglwydd daionus a faddeuo i bob un a barotôdd ei galon i geisio Duw." Iaith wreiddiol, *Jehofah y daionus a wnelo gymmod dros, &c.* Psal. lxxxv. 12. "Yr Arglwydd hefyd a rydd ddaioni;" neu a rydd y daioni. Cymharwch Ioan iv. 10. "Ped adwaenit ti ddawn Duw, a phwy yw." Esay lv. 2. "Bwytêwch yr hyn sydd dda." Cymharwch Ioan vi. 55. "Fy nghnawd i sydd fwyd yn wir." Job xxxiv. 4, 5. "Gwybyddwn rhyngom pa beth sydd dda; canys dywedodd Job, Cyfiawn ydwyf." Yn awr, a dyn yn y modd hyn yn gymmeradwy gan Dduw, *pa beth a gais yr Arglwydd genyt,* fel nôd o ddiolchgarwch, *ond gwneuthur barn,* fel un cymmeradwy, nid heb gyfiawnder, yn atteb i ofynion cyfiawnder a barn; *a hoffi trugaredd* fel un wedi derbyn trugaredd; *ac ymostwng i rodio gyda'th Dduw,* fel un yn ddyledwr i rydd ras? yn yr un fath ymadrodd y mae Moses yn cyfeirio ei hun at y bobl yr oedd y meddiant o wlad Canaan wedi ei sicrhau iddynt trwy lw Duw, ac y'mron myned i'w meddiannu hi, Deut. x. 11, 12. "Ac yr awr hon, Israel, beth y mae yr Arglwydd dy Dduw yn ei ofyn genyt, ond ofni yr Arglwydd dy Dduw?" &c. sef fel nod o ddiolchgarwch, am ei waith yn rhoddi i ti y wlad dda.

*Casg.* Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd fe a ymddengys, fod eich bywyd a'ch iachawdwriaeth yn ymddibynu yn hollol ar eich neillduol hawl yn nghyfiawnder Crist. Os ydych yn feddiannol arno, y mae eich iachawdwriaeth yn ddiogel: os nad ydych, y mae iachawdwriaeth yn mhell oddiwrthych. Pe y byddech fyth mor llawn o'ch cyfiawnderau eich hunain, a'ch gwaith, a'ch dyoddefiadau, nid yw yr oll ond bratiau budron yn yr achos hwn, ac nis gallant roddi i chwi na

hawl na theitl i fywyd; ac er nas gallwch weled dim da o'ch eiddo eich hunain, ynoch eich hunain, ar yr hyn y gellwch bwyso gerbron yr Arglwydd; etto os yw cyfiawnder Crist yn eiddo i chwi mewn meddiant trwy ffydd, y mae eich bywyd a'ch hiachawdwriaeth mor gadarn a'r graig.

*Gof.* Pa fodd, gan hyny, y caf fi wybod fod cyfiawnder Crist mewn gwirionedd, mewn meddiant genyf? *Atteb.* Y mae yr Arglwydd ei hun yn rhoddi gwahaniaethol gymmeriad o'r fath feddiannwyr dedwydd. Esa. li. 7. "Gwrandewch arnaf y rhai a adwaenoch gyfiawnder, y bobl sydd a'm cyfraith yn eu calon." Y rhai a *adwaenant gyfiawnder*, yn ol iaith yr ysgrythyr, yw y *rhai* sydd yn ei feddu ef, yn gytunol â'r ymadrodd, Mat. xxv. 12. "Nid adwaen chwi;" hyny yw, nid ydych o'm heiddo i; nid ydwyf yn eich cydnabod fel fy eiddo i. Felly y mae'r cymmeriad hwn yn cynnwys ynddo ddwy ran:—1.. Y maent y cyfryw ag sydd yn cydnabod cyfiawnder Crist fel eu hunig gyfiawnder y'ngolwg Duw, ac yn cyfeirio ato ef yn unig am fywyd a iachawdwriaeth, gan ymwrthod â'u holl gyfiawnderau eu hunain, Esa. liii. 11. "Fy ngwas cyfiawn a gyfiawnha lawer trwy ei wybodaeth;" hyny yw, trwy yr wybodaeth neu y cydnabyddiaeth o hono ef, yr hyn sydd trwy ffydd. 2. Y mae cyfraith Dduw ganddynt yn eu calon. Y mae y bobl gyfiawn, ag sydd yn gyfiawn trwy ffydd, yn bobl santaidd. Y maent yn gwneuthur cydwybod o ufudd-dod tufewnol; oherwydd y mae y gyfraith santaidd yn llywodraethu o'u mewn hwynt; ie ynò, lle nas gwel un llygad ond llygad Duw, a'u cydwybod hwythau. Felly y maent yn cael ei gwahaniaethu oddiwrth ragrithwyr, y rhai sydd fel beddau wedi eu gwyn-galchu, yn hardd oddiallan, eithr oddifewn yn llawn aflendid. Y maent yn gwnethur cydwybod o ufudd-dod allanol hefyd; oherwydd megis y gwna y ganwyll a

fyddo yn llosgi o fewn y llusern lewyrchu trwyddi hi; felly cyfraith Duw, yr hon sydd yn llywodraethu yn y galon, nis gall lai nâ llywodraethu yn yr ymarweddiad hefyd, Mat. vi. 22. "Am hyny o bydd dy lygad yn syml, dy holl gorff fydd yn oleu." Ac felly y maent yn cael eu gwahaniaethu oddiwrth yr halogedig; y rhai y mae eu bywydau ansantaidd yn egluro nad oes iddynt na rhan na chyfran yn y cyfiawnder hwn. Psal. xxiv. 3, 4. "Pwy a saif yn ei le santaidd ef? Y glân ei ddwylo." Nid yn unig yn eu meddyliau y mae y gyfraith, trwy ei goleu i'w gyru hwynt i ufudd-dod, megis y mae yn achos y deddfolion, y rhai sydd yn gweithio fel caethion, eithr y mae hi yn eu calonau a'u serchiadau hwynt, yn egluro i'w heneidiau harddwch santeiddrwydd; ac felly yn eu denu hwynt i bob ufudd-dod, ac yn peri iddynt weithio fel plant i'w Tad. Y mae eu calonau wedi eu cymmodi â phurdeb y gyfraith santaidd, ac y maent yn "ymhyfrydu ynddi yn ol y dyn oddimewn." Rhuf. vii. 22. Ac a ddymunent gyrhaeddyd cyflawn gydffurfiad â hi, gan ddywedyd o'r galon, "O am gyfeirio fy ffyrdd i gadw dy ddeddfau!" Psal. cxix. 5.

Yn ail, I ddad-blygu y cyfiawnder hwnw, y cyflawniad o'r hwn a wnaethpwyd yn ammod y cyfammod gras, ni a'i golygwn ef yn yr amrywiol ranau o hono. Yr oedd yn rhaid i'r cyfiawnder hwnw, gan ei fod ef i gael ei gyflawni dros ac yn lle pechaduriaid, gael ei sefydlu yn ol y gyfraith, neu y cyfammod gweithredoedd toredig, yr hwn yr oeddent hwy yn gorwedd dano: oherwydd yr oedd y gyfraith, neu y cyfammod gweithredoedd toredig, mor bell o gael ei esgeuluso yn y cytundeb newydd, fel pa beth bynag oedd ganddo i roddi ar, neu i ofyn gan y personau yr ammodwyd drostynt yn y cyfammod, fe'i symmwyd ef i fynu, ac a'i gosodwyd ef i lawr yn y cyfammod, i gael ei gyflawn dalu gan Grist, eu

machniydd hwynt, yn ammodi drostynt. Yn awr, wrth osod y cyfiawnder hwn gerbron oddiyno, fe'i cair yn cynnwys ynddo dair rhan, gan wneuthur cynnifer o erthyglau ammodol y cyfammod gras; sef, *santeiddrwydd natur*, *cyfiawnder bywyd*, a *boddlonrwydd dros bechod*. Am y rhai y golygaf mewn trefn.

### Erthygl I. *Santeiddrwydd Natur.*

Yr oedd y gyfraith yn gofyn santeiddrwydd natur, megis ammod o fywyd, yn gymmaint a'i bod yn euog farnu pechod gwreiddiol, gan ddywedyd, "Na chwennych:" hi a benderfynodd fod yr oll o ddynion wrth natur yn *blant digofaint*. Oherwydd, gan fod Duw yn hanfodol santaidd o angenrheidrwydd natur, ni all dim fod mor wrthwynebol i Dduw a natur ansantaidd: oherwydd, pa fodd bynag y gall personau neu bethau o'r un natur, fod yn wrthwynebol i'w gilydd mewn rhyw bynciau, etto nis gallant byth fod mor wrthwyneb, y naill i'r llall, a'r rhai hyny sydd o natur gyfan-gwbl wrthwynebol. Eithr yr oedd y personau yr ammodwyd drostynt yn y cyfammod gras, a'u natur wedi ei hollol lygru, ac yn analluog i'w phuro hi, na "gwneud eu calon yn lân." Diar. xx. 9. Gan hyny, y mae yn amlwg nas gallasent trwy un moddion atteb y gofyniad hwn o eiddo y gyfraith wrthynt eu hunain. Oherwydd paham, er boddlonrwydd i'r gyfraith, yn y pwnc hwn, fe benderfynwyd fel erthygl ammodol o'r cyfammod gras, ar i Grist, yr ail Adda, gan eu cynddrychioli hwynt, fod yn ddyn o natur berffaith santaidd, bur, a difrycheulyd; yn cyflawn atteb drostynt hwy i'r santeiddrwydd a'r perffeithrwydd natur yr oedd y ddeddf yn ei ofyn. "Canys y cyfryw Arch-offeiriad santaidd, diddrwg, dihalog, didoledig oddiwrth bechaduriaid—oedd weddus i ni," Heb. vii. 26. Ac y mae yr erthygl hwn yn cynnwys dau benran.

1. Y byddai iddo ef, fel yr ail Adda, gael ymddwyn arno a'i eni yn santaidd dros ac yn eu lle hwynt, oedd yn llygredig yn eu natur, wedi ymddwyn arnynt a'u geni mewn pechod. Fe roddwyd natur santaidd i Adda, fel gwreiddyn dynolryw, i gael ei chadw felly ganddo ef, a'i throsglwyddo felly i'w hiliogaeth, yn y ffordd o genedliad naturiol. Ac ar y sail hon, y mae y gyfraith yn gofyn am i bob dyn gael ei eni yn santaidd, gan eu cyhoeddi yn *aflan* ac yn *blant digofaint*, yn y canlyniad gwrthwyneb, Job xiv. 4. Eph. ii. 3. "Ond pa fodd y gallasai y gofyniad hwn gael ei atteb gan bechaduriaid? y maent wedi eu geni mewn pechod: nis gallant fyned etto i groth eu mamau, a chael eu geni yr ail waith heb bechod. Na allant: etto ni leiha y ddeddf ddim o'r gofyniad hwnw am fywyd. Oherwydd paham, fe ddarparwyd i Grist, fel person cyhoedd, yn cynddrychioli ei hâd ysbrydol, i gael ei eni yn berffaith santaidd: fel, gan iddynt hwy ddyfod a natur lygredig bechadurus i'r byd gyda hwynt, y byddai iddo ef ddyfod a natur ddynol santaidd i'r byd gydag ef. Ac felly efe oedd yr Adda diweddaf, 1 Cor. xv. 45. *Santaidd a dihalog*, Heb. vii. 26. Y "peth santaidd a enir." Luc i. 35. A'r canlyniad o hono, mewn perthynas i ofyniad y gyfraith am fywyd yw, fod yr holl gredinwyr, yngnghyfrif y gyfraith, yn cael eu geni yn santaidd yn yr ail Adda, yn yr un modd ag y darfu iddynt gael eu creu yn santaidd yn yr Adda cyntaf; oddiyma y dywedir yn bendant eu bod wedi eu henwaedu ynddo ef, Col. ii. 11. yr hyn sydd mewn modd amlwg yn golygu eu bod yn flaenorol wedi eu geni ynddo ef. A thrwy rinwedd eu bod wedi eu geni yn gyfreithiol santaidd yn Nghrist, pan y ganwyd ef, gan fod wedi eu huno ag ef yn *amser serchawgrwydd;* y mae, eu bod yn cael eu geni drachefn yn wirioneddol, ac

yn y diwedd eu perffeithio; yn yr un modd a thrwy rinwedd eu bod yn gyfreithiol halogedig yn Adda pan y pechodd ef, y maent yn wirioneddol ac yn weithredol halogedig yn eu personau eu hunain, yn dyfod i'r byd; y mae y natur santaidd yn cael ei chyfranu yn wirioneddol iddynt hwy o Grist eu pen ysbrydol, yn yr hwn y darfu iddynt gael eu geni yn gyfreithiol santaidd; yn yr un modd ag y mae llygredigaeth natur yn cael ei throsglwyddo iddynt o Adda, eu pen naturiol, yn yr hwn y darfu iddynt bechu y'nghyfrif y gyfraith.

2. Y penran arall yw, y byddai i Grist, fel yr ail Adda, gadw santeiddrwydd y natur yn ddihalog hyd y diwedd drostynt hwy, ac yn eu henw hwynt. Yr oedd y gyfraith neu y cyfammod gweithredoedd yn gofyn, megis yn ammod am fywyd, am i'r santeiddrwydd natur, a roddwyd i ddynolryw yn Adda, gael ei gadw yn bur a dihalog. Eithr fe'i collwyd ef: a phe y gosoder y mater iddo gael ei adferyd iddynt, nis gallasent ei gadw ef, yn eu personau eu hunain, yn lan, y'nghanol cynnifer o faglau. Oherwydd paham, i ddiwallu gofyn y gyfraith yn y pwnc hwn, fe ddarparwyd, mai yn y dyn Crist, fel person cyhoedd, cynddrychiolwr o'i hâd, y byddai i'w natur hwy gael ei chadw yn berffaith santaidd hyd y diwedd, heb yr halogiad na'r ystaen lleiaf. Esay xlii. 4. "Ni phalla efe." Neu, *nid a yn dywyll*, neu *yn grychiog*; megis y mae y croen pan byddo yr ireidd-dra wedi dyhysbyddu. Yn hyny y methodd yr Adda cyntaf. Yr oedd ef yn dysgleirio o burdeb natur, fel y daeth ef o law y Creawdwr: eithr efe a ballodd, efe a aeth yn dywyll: fe ddarfu i santeiddrwydd ei natur ef gael ei ddyhysbyddu trwy bechod, ac fe gollodd holl ddynolryw eu harddwch ysbrydol ynddo ef, ac a aethant yn grychiog. Eithr yn awr gan na fethodd yr ail Adda, eithr cadw o hono santeidd-

rwydd y natur ddynol ynddo ei hun yn lan, heb ei thywyllu yn y gradd lleiaf, ie, hyd ddiwedd ei fywyd, nid yw gweddillion llygredigaeth y natur yn y credinwyr yn cael ei gyfrif iddynt hwy, Rhuf. iv. 8. Eithr, er mor halogedig ydynt ynddynt eu hunain trwy y gweddillion hyn sydd yn glynu wrthynt, etto, yn Nghrist y mae eu tegwch yn wridog, heb ei niweidio yn y gradd lleiaf, yn ol hyny, Can. iv. 7. "Ti oll ydwyt dêg, fy anwylyd; ac nid oes ynot frycheuyn."

ERTHYGL II. *Cyfiawnder bywyd.*

Yr oedd y gyfraith yn hòni am hyn hefyd fel ammod o fywyd; ac yn gyfiawn: o herwydd fe roddodd Duw i Adda, a'r oll o ddynolryw ynddo ef, gyfraith i ufuddhau iddi yn mhob pwnc; nid yn unig trwy rinwedd rhwymau dyled naturiol, eithr trwy rinwedd yr ysgrifrwym o'r cyfammod am fywyd: eithr nis cyflawnwyd hyn ganddynt hwy. Fe ddechreuodd yr Adda cyntaf yr yrfa o ufudd-dod mewn gwirionedd, eithr efe a syrthiodd ymaith o honi yn fuan, a'i holl hâd naturiol ynddo ef. Yn awr, gan ei fod yn beth anghydsyniol ag anrhydedd y gyfraith, i'r gamp-dlws, sef bywyd tragywyddol, gael ei roddi, heb i'r yrfa gael ei rhedeg, yr oedd hi yn wastadol yn hòni, gan ddywedyd, "Os ewyllysi fyned i mewn i'r bywyd, cadw y gorchymynion." Mat. xix. 17. Er hyny yr ydym ni yn weiniaid, yn ddigyffro, heb ddim grym i redeg yr yrfa hòno. Oherwydd paham, fe sefydlwyd, megis ammodol erthygl arall o'r cyfammod, y byddai i Grist, fel person cyhoedd, yn cynddrychioli y rhai hyny yr ammododd drostynt, i ddechreu a pherffeithio yr yrfa o ufudd-dod i'r gyfraith, mewn cyfiawnder bywyd; ac yn gyfattebol i hyn, efe a fu "ufudd hyd angeu," Phil. ii. 8.

Y gyfraith, yr hon oedd yn rheol yr ufudd-dod

oedd yn cael ei fanwl ofyn ganddo ef, oedd yr un a chyfraith y deg gorchymyn yr hon a roddwyd i Adda, ac yn rhwymau arnom ni megis rhai dani hi: oherwydd fe'i "gwnaethpwyd ef dan y ddeddf, fel y prynai y rhai oedd dan y ddeddf," Gal. iv. 4, 5. Hi a gyrhaeddodd i bob gosodiadiad Dwyfol, a gafodd yr ail Adda mewn bod, pa un bynag ai yn rhwymo dynion fel dynion, neu fel aelodau o eglwys Dduw ar y ddaear: yn yr un modd ag yr oedd rheol ufudd-dod yr Adda cyntaf yn cyrhaeddyd at y gyfraith bennodol mewn perthynas i'r ffrwyth gwaharddedig, yr hon oedd mewn bod pan y gofynwyd ganddo ef gyflawni ammod ei gyfammod. Fel y byddo i ni amgyffred yr erthygl hwn yn fwy eglur, fe ellir sylwi ei fod yn cynnwys y tri pheth canlynol.

1. Y byddai iddo ef, fel yr ail Adda ufuddhau i'r holl gyfraith, yn enw y rhai yr oedd yn eu cynddrychioli. Yr oedd hyn yn ddyled oedd yn ddyledus arnynt hwy oll; ac yn cael ei ofyn oddiwrthynt hwy gan y gyfraith, fel ammod o fywyd. Gal. iii, 10. "Canys ysgrifenwyd, melldigedig yw pob un nid yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf, i'w gwneuthur hwynt." Eithr yr oedd atteb i'r gofyniad hwn yn gwbl y tu hwnt i'w cyrhaedd hwynt. Fe ddarfu i ddyn, trwy'r cwymp, golli llawer o'i wybodaeth o'r gyfraith, a cholli ei olwg ar lawer o'r dyledswyddau gofynol ynddi: pa fodd bynag, nid yw anwybodaeth o'r gyfraith yn esgusodi un dyn. Yr oedd ei galon yn wrthwyneb i, ac yn elyniaeth yn erbyn y gyfraith, Rhuf. viii. 7. Ac yr oedd ef heb rym i gyflawni y dyledswyddau cynnwysedig ynddi, oedd yn cael eu gofyn oddiwrtho ef, Rhuf. v. 6. Fel ag oherwydd yr anwybodaeth, y gwrthwynebiad, a'r anallu, yn y peth, nid oedd ufudd-dod yn ol y gyfraith i'w gael oddiwrthynt hwy. Oherwydd paham, fe ddarparwyd, i Grist, fel eu cynddrychiolwr hwynt, i roddi ufudd-dod i'r

holl gyfraith drostynt hwy; y byddai i ddwy lech y gyfraith, a phob gorchymyn i bob llech, gael dyladwy ufudd-dod oddiwrtho ef: y byddai iddo ef, trwy i'r gyfraith gael ei gosod ger ei fron ef, yn ei hysbrydolrwydd, a'i chaflawn eangder, ei chyflawn atteb hi, mewn ufudd-dod tufewnol ac allanol, yn ei feddwl, ei ewyllys, a'i serchiadau, mewn meddwl, gair, a gweithred: y byddai iddo ef gydymffurfio â'r holl gyfraith naturiol, ac a'r holl osodiadau Dwyfol, yn seremoniol ac yn wladol, fel ag i gymmeryd ei enwaedu, i gadw y pasg, i gymmeryd ei fedyddio, i fod yn was i, neu yn rhwymedig i reolau, i dalu teyrnged i'r hwn yr oedd yn ddyledus, a'r cyffelyb. Mewn un gair, y byddai iddo ef gyflawni holl ewyllys Duw, oedd yn cael ei arwyddo yn y gyfraith; yn y modd ag y byddai i'w bobl ef, yn unol â diogelwch anrhydedd y gyfraith, gael bywyd. Yr hyn y methodd yr Adda cyntaf ynddo, oedd yr hyn yr oedd yr ail Adda i'w wneuthur. Ac yr ydwyf yn golygu fod hyn yn cael ei arddangos i ni yn achos y cyntaf a'r ail o frenhinoedd Israel, sef Saul a Dafydd, Act. xiii. 22. "Cefais Dafydd mab Jesse, gwr yn ol fy nghalon, yr hwn a gyflawna fy holl ewyllys." Gr. *Fy holl ewyllysiau*. Yn yr hyn y mae golygu amlwg ar Saul, yr hwn oedd yn hanerog yn ei ufudd-dod i ewyllys Duw, (1 Sam. xv.) ac ar gyfrif hyny a gollodd y deyrnas iddo ei hun a'i eiddo.

2. Y byddai i bob rhan o'r ufudd-dod hwnw, gael ei gario y'mlaen i'r gradd uchaf. Yr oedd y gyfraith yn gofyn hyn oddiwrthynt hwy, fel ammod o fywyd; megis y dangosodd ein Harglwydd ei hun i'r cyfreithiwr, Luc x. 27. 28. "Ti a geri yr Arglwydd dy Dduw a'th holl galon, ac a'th holl enaid, ac a'th holl nerth, ac a'th holl feddwl; a'th gymmydog fel ti dy hun—gwna hyn a byw fyddi." Eithr yr oedd hyn yn ofyniad aa

gallasent hwy byth ei atteb, gan i Adda wasgaru eu hystor hwynt o allu, a'u gadael hwynt yn ddiallu. Gallasent mor hawdd gyrhaeddyd yr haul yn y ffurfafen a'u dwylaw, oedd mor bell uwchlaw iddynt, a chyrhaeddyd y perffeithrwydd mewn ufudd-dod yr oedd y ddeddf yn ei ofyn ganddynt. Oherwydd paham, fe gytunwyd, y byddai i Grist yn eu henw hwynt ufuddhau i'r gyfraith yn y perffeithrwydd hwnw, gan gael ei wneuthur dan y ddeddf, megis yr oeddynt hwy dani hi, Gal. iv. 4, 5. y byddai pob gweithred o'i eiddo ef yn dwyn, nid yn unig ddaioni y matter, eithr daioni y dull hefyd, a hyny mewn perffeithrwydd: y byddai cariad at Dduw a dynion yn fflamio yn ei enaid dynol santaidd ef, i'r gradd uchaf a ofynid gan y gyfraith; ac felly y byddai i'r ddyled hono, oedd yn ddyledus ar ei had ef, gael ei rhyddhau ganddo ef, yn gweithredu fel person cyhoedd yn eu henw hwynt.

Yn olaf, y byddai i hyn oll gael ei ddwyn y'mlaen hyd y diwedd, heb y methiant lleiaf mewn un gradd o ranau yr ufudd-dod. Yr oedd hyn hefyd yn ammod o fywyd wedi ei osod yn y cyfammod cyntaf, Gal. iii. 10. "Melldigedig yw pob un nid yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf, i'w gwneuthur hwynt." Eithr yr oedd hyn yn ofyniad nas gallasent hwy mewn un modd ei atteb; yr oedd natur dyn wedi ei llygru yn gymmaint trwy y cwymp, fel pe buasai fil o uffernau yn cael eu bygwth arnynt, nis gallasai y goreu ar y ddaear ei chadw hi yn berffaith uniawn un awr. Oherwydd paham, fe a gytunwyd, y byddai i'r ail Adda, yn enw y rhai hyny yr oedd ef yn eu cynddrychioli, "aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf, i'w gwneuthur hwynt," ie hyd y diwedd: na byddai iddo ef fethu yn yr yrfa o ufudd-dod, a ddechreuodd, eithr rhedeg hyd ddiwedd yr yrfa a osodwyd o'i flaen ef: fel o'r groth hyd y bedd,

y byddai i'w galon a'i fywyd ef ddysgleirio mewn perffeithrwydd santeiddrwydd. Yr hyn oll a gyflawnodd yn gyfattebol, "gan fod yn ufudd hyd angeu." Phil. ii. 8.

Erthygl III. *Boddlonrwydd dros bechod.*

Yr oedd y ddau flaenorol yn ammod cyfammod Adda; eithr nid oedd hwn ynddo ef: Oherwydd, tra nad oedd pechod, nid oedd lle i foddlonrwydd am bechod. Eithr yr oedd yn rhaid i'r cyfammod newydd gael ei sefydlu ar yr ammod o roddi boddlonrwydd dros bechod: oherwydd, yr oedd y gyfraith doredig, neu y cyfammod gweithredoedd, yn hòni am hyny megis ammod o fywyd i bechaduriaid, trwy effaith y gosp yr oeddynt hwy wedi ei dynu arnynt. Pa fodd bynag, yr oedd yn gyflawn uchlaw eu gallu hwynt i atteb y gofyniad hwn o eiddo y gyfraith. Os bydd gan hyny i'r Cyfryngwr gael bad wedi eu dwyn o sefyllfa farwol, i sefyllfa o fywyd a iachawdwriaeth, y mae yn rhaid iddo ef eu prynu hwynt o law cyfiawnder, gan rifo i lawr y pris am bob enaid o honynt, 1 Cor. vi. 20. Yn gyfattebol i hyn, fe ddarfu i holl bechodau pob un o honynt, o'r pechod cyntaf yr oeddynt i gael eu cenedlu a'u geni ynddo, hyd y pechod diweddaf y byddai iddynt drengu gydag ef, wedi eu rhag-weled gan Dduw er tragywyddoldeb, gael eu symo i fynu, megis cynnifer toriad o'r gyfraith, neu y cyfammod gweithredoedd: ac fe a'i gwnaethpwyd yn erthygl ammodol arall o'r cyfammod, y byddai i Grist, fel person cyhoedd, roddi boddlonrwydd cyflawn a hollol am danynt oll, Esa. liii. 6. "A'r Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd;" Cymharwch â Lef. xvi. 21. "Holl anwiredd meibion Israel, a'u holl gamweddau hwynt yn eu holl bechodau."

Yn awr fe sefydlwyd tri pheth yn yr Erthygl hwn.

1. Y byddai i Grist, fel person cyhoedd, foddloni drostynt hwy trwy ddyoddef, Luc xxiv. 26. "Onid oedd raid i Grist ddyoddef?" Yr oedd pechaduriaid yn rhwymedig i ddyoddef er boddlonrwydd i gyfiawnder: ac nis gallasai dim gael ei dderbyn ond dyoddefaint, fel iawn am y sarhad a rowd trwy bechod i anrhydedd Duw, yn yr halogiad o'i gyfraith santaidd ef. Yr oedd miloedd o feheryn, a myrddiwn o ffrydiau olew, wrth orchymyn y Cyfryngwr; yr oedd yr oll o'r aur a'r arian, a phethau gwerthfawr y ddaear a'r moroedd, wrth ei lywodraeth; eithr nis gallasai dim o'r rhai hyn fod o ddefnydd yn y cytundeb hwn; yr oeddynt oll yn ddiwerth, mewn cyngrair am brynedigaeth yr enaid, Mich. vi. 6, 7, 8. 1 Ped. i. 18, 19. "Ei ddyoddefiadau ef ei hun yn unig a allasai leshau yma." "Y byddai i Fab Duw ddyoddef, oedd gynnygiad rhyfeddol: eithr yr oedd yn angenrheidiol mewn trefn i foddloni dros ein pechodau ni.

2. Y byddai iddo ef ddyoddef yr un gospedigaeth ag a ddylasent hwy ei ddyoddef trwy rinwedd dirwy y cyfammod gweithredoedd toredig; ac y mae hyny yn farwolaeth yn ei chyflawnfaint a'i heangder. Y mae hyn yn ymddangos oddiwrth ddirwy y cyfammod hwnw, oddiwrth yr hyn y mae y ddyled o foddlonrwydd yn cael ei gosod, "yn y dydd y bwytâi di o hono, gan farw y byddi farw," Gen. ii. 17. wrth ei gymharu â gwaith Crist yn marw dros, hyny yw, dros ac yn lle pechaduriaid, yr hyn y dywedir am dano mor aml yn yr ysgrythyrau. Rhuf. v. 6, 8. 2 Cor. 5. 14, 15, 1 Thes. v. 10. Ac y mae yn cael ei gadarnhau oddiwrth yr hyn y mae yr ysgrythyr yn ei ddangos, i'r *pawb* dros y rhai y bu Crist farw, farw ynddo ef, 2 Cor. 5. 14. "Os bu un farw dros bawb, yna meirw oedd pawb," neu, *yna y bu farw y pawb*, sef ynddo ef; yn yr un modd ag y darfu iddynt bechu a myned yn agored i farwolaeth yn Adda. Felly

y mae yr apostol yn dywedyd, "Mi a groeshoeliwyd gyda Christ," Gal. ii. 20.

I amlygu hyn, y mae dau beth i gael eu gwahaniaethu yn y farwolaeth hòno, yr hon oedd yn ddirwy y cyfammod o weithredoedd. 1. Beth oedd yn hanfodol iddi, wedi ei oblygu i fyna y'ngwir natur y peth ei hun, a elwir yn farwolaeth yn iaith y cyfammod. A gellir cynnwys hyny yn y ddau beth ganlynol;—(1.) Y felldith, (2.) Anfeidrol ddibenyddiad; y blaenaf yn gwneuthur y farwolaeth yn gyfreithlon, yr olaf yn ei gwneuthur hi yn wiriooneddol ac yn foddhaol. 2. Y peth oedd yn ddamweiniol iddi, yn cyfodi, nid oddiwrth natur y peth ynddo ei hun, eithr oddiwrth natur y blaid oedd yn marw y farwolaeth. Ac y mae hyn o ddau fath.—(1.) Y mae rhyw beth yn cyfodi oddiwrth natur y blaid sydd yn marw, megis y mae ef yn unig yn greadur; megis tragywyddolrwydd y gosp, ac anobaith am fywyd.—(2.) Rhyw beth yn cyfodi oddiwrth natur y blaid sydd yn marw, megis y mae ef yn greadur pechadurus, neu yn ddeiliad o bechod greddfol; megis y diddymiad o'r berthynas achubol rhwng Duw a'i enaid ef, y diosgiad o ddelw Duw oddiar yr enaid, a llygriad ac ymddattodiad y corff.

Yn awr, fe osodwyd pethau hanfodol y farwolaeth hòno yr oeddem ni i'w dyoddef, trwy rinwedd dirwy y cyfammod gweithredodd toredig, ar Iesu Grist, fel rhan o ammod y cyfammod gras, i gael ei ddyoddef ganddo ef, drosom ni. Oherwydd fe'i "gwnaethpwyd ef yn felldith drosom ni," Gal. iii. 13. "Ac a'i rhoddodd ei hun drosom ni, yn offrwm ac aberth i Dduw o arogl peraidd," Eph. v. 2. Hyny yw, aberth yn cyfatteboli i'r annherfynol sarhad oedd yn cyfodi oddiwrth ein pechod ni; ac oddiyma y dywedir iddo ef "â g un offrwm berffeithio yn dragywydd y rhai sydd wedi eu santeiddio," Heb. x. 14.

Eithr nid oedd damweiniau y farwolaeth hòno yn un rhan o ammod y cyfammod oedd yn cael ei osod arno ef; ac nis gallasent mewn un modd gael lle ynddo ef; gan nad oedd ef yn ddeiliad pechod greddfol, nac ychwaith yn greadur yn unig. Er hyny, yr oedd hi etto yr un farwolaeth ag yr oeddem ni i'w dyoddef, yn gymmaint a bod y sylweddau yr un. Yn y modd hyn y bydd cyrff y saint, sydd yn awr yn wan ac yn llygredig, yn yr adgyfodiad, yn nerthol ac yn anllygredig, etto yn wastadol yr un cyrff; gan nad yw y cynneddfau hyn ond yn ddamweiniol i gyrff dynol. Felly yn yr achos o dalu dyled, er nas gallasai y benthycwr ei dalu ef, ond mewn swmp mawr o arian copr, a hyny yn cael ei dalu bob yn ychydig ac ychydig dros hir amser; yr hyn er hyny a'i dystrywiai ef: etto os byddai i'w fachnïydd cyfoethog ef ei dalu ef oll ar yr un waith, mewn ychydig aur, y mae yn amlwg y byddai hyn yn daliad o'r unrhyw ddyled, os byddai yn gyflawn gyfattebol i'r swm a fenthycwyd. Nid yn unig felly, eithr pe y cyfyngem ein golygiadau at angeu yn unig, yr hyn yw y dychymyg cyffredinol priodol o'r peth mewn holiad, gadewch i ni osod yr achos, fod dau ddyn, cydradd euog o'r un trosedd, yn cael eu gosod dan yr un a'r unrhyw farn marwolaeth, a hi yn cael ei chyflawni ar y ddau: eithr y mae un trwy wyrth yn cael ei gyfodi i fywyd drachefn, y mae y llall yn gorwedd ac yn pydru yn y bedd. Y mae yn amlwg, yn yr achos hwn, fod y farwolaeth y buant farw o honi yr un farwolaeth, ac yn atteb i'r un gwir gyfrifiad ag a wnaeth y gyfraith o'r trosedd; ac am hyny y mae marwolaeth y cyntaf yn boddloni y gyfraith, yn gystal a marwolaeth y diweddaf, fel nas gall hi gyrhaeddyd ei fywyd ef drachefn am y trosedd hwnw: pa fodd bynag, nid yw yn llai amlwg, fod gwahaniaeth mawr rhwng marwolaeth y naill a marwolaeth y llall mewn dygwydd-

iadau, yn neillduol yn yr arosiad neu y parhad o honi. O herwydd paham, yr ydym yn penderfynu, gan i Grist roddi yr un ufudd-dod bywiog i'r gyfraith, ag a ddylasem ni ei roddi trwy rinwedd ammod y cyfammod gweithredoedd, felly efe a ddyoddefodd yr un gospedigaeth yn angeu, ag a ddylasem ni ei dyoddef trwy rinwedd dirwy y cyfammod toredig hwnw: yn gymmaint fel, pa wahaniaeth bynag oedd yn y dygwyddiadau, yr oedd yr hanfodau yr un; yr oedd yn ofynol oddiwrtho ef, yn y cyfammod newydd, i ddyoddef marwolaeth drosom ni, i gyfartal yr afrifed sarhad oedd yn codi oddiwrth ein pechodau ni; ac i gyfartal yn gyflawn i'r cyfrifiad a wnaeth y gyfraith a chyfiawnder Duw o'n troseddau ni.

Ac yn y modd hyn, yn ol yr hyn a ddywedwyd, y darfu i ddau bwnc arbenig gael eu sefydlu yn y rhan ammodol o'r cyfammod.

1. Y byddai i felldith y ddeddf, oedd yn ddyledus i ni am ein pechod, gael ei throsglwyddo arno ef fel yr ail Adda, ein cynddrychiolwr ni; trwy yr hyn y byddai iddo ef y munud hwnw fod yn ddyn marw y'nghyfrif y gyfraith dros ei hâd. Yr oedd yn rhaid i un ai efe neu hwythau oddef y felldith; "canys ysgrifenwyd, Melldigedig yw pob un nid yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf." Gan i Dduw gyssylltu y bygythiad o farwolaeth a'i gyfammod cyntaf, gan ddywedyd, "Yn y dydd y bwytâi di o hono, gan farw y byddi farw;" yr oedd gwirionedd Duw wedi sicrhau y byddai i'r felldith gymmeryd lle, mor fuan ag y byddai i bechod ddyfod i mewn. Yn awr nid oeddynt hwy yn alluog i'w goddef hi, heb gael eu handwyo trwy hyny. Eithr, fel y byddai iddi gael ei dwyn, a hwythau hefyd gael eu hachub, fe ddarparwyd iddo ef gael ei osod dani hi, yn eu lle hwynt; fel, megis yr oedd ef wedi ei wneuthur

yn bechod drostynt hwy, felly hefyd y byddai iddo ef; trwy y canlyniad o hyny, gael ei wneud yn felldith drostynt hwy, Gal. iii. 13.

Y felldith yw dedfryd y gyfraith doredig wedi cerdded ar berson, yn ei rwymo ef drosodd i ddialeddol lid Duw, i gyflawn foddlonrwydd i gyfiawnder. Felly y mae y dirgelwch ofnadwy a dychrynllyd hwnw yn gorwedd yma: yr oedd yn rhaid i Grist sefyll gerbron gorsedd barn y gyfraith santaidd fel pechadur, yn attebol am holl bechodau yr holl etholedigion, trwy rinwedd ei ysgrifrwym o fachniaeth, oedd wedi ei chofrestru ynnghof-lyfrau y nef; ac yr oedd yn rhaid i ddedfryd gerdded arno ef, gan ei ddyfarnu a'i rwymo ef drosodd i ddyoddef yr oll o'r dialeddol lid yr oedd y pechodau hyn yn ei haeddu. Fe ddywedodd Oen Duw, *Wele fi yn dyfod*: felly fe gyflawnwyd y peth; fe'i gwnaethpwyd ef *yn felldith drosom ni*. Yn arwydd o hyn, gan gael ei alw gerbron prif lys cyfraith yr Iuddewon, fe'i barnwyd ef yn gablwr, ac yn haeddu marwolaeth; ac yn gydraddol â hyn gerbron Pilat y llywodraethwr Rhufeinaidd, fe gafodd ei farnu i farw, a hyny ar y groes.

Edrychwch ar y rhyfeddol ganlyniad o'r oruchwyliaeth ofnadwy hon; sef y trosglwyddiad o'r felldith ar Grist, yr ail Adda. 1. Trwy hyn fe'i gwnaethpwyd ef yr un neillduedig o'r gymdeithas etholedig, wedi ei neillduo i niwed, megis y mae effaith diafos y felldith yn cael ei darlunio, Deut. xxix. 21. Fe'i gwnaethpwyd ef yn ben diofrydedig, wedi ei ddiofrydu i dalu dros yr oll o'r lleill. Fe'i gosodwyd ef i fynu fel nod, yn erbyn yr hwn y byddai 'i holl saethau dialeddol lid gael eu hanelu. Fe'i gosodwyd ef i fod yn dderbynle cyffredinol i holl lifeiriant y dialedd, oedd yn tarddu oddiwrth gyfiawnder enynol, yn erbyn yr holl gorff o etholedigion, i'w llyncu hwynt i fynu: yma y trowd y ffrwd o'r holl rai hyn, fel y

byddai iddynt ar un waith lifo i mewn arno ef. Oddiyma y mae ef yn llefain, Psal. lxix. 2. "Daethum i ddyfnder dyfroedd, a'r ffrwd a lifodd drosof." 2. Trwy hyn efe a ddaeth yn lle o orphwysfa i gyfiawnder dialeddol, yn yr hwn yr oedd ef i anrheithio, hyd nes y byddai wedi cael ei gyflawn foddloni, Esay liii. 10. "Pan osodo efe ei enaid yn aberth dros bechod." Yn arwydd o hyn, pan y daeth y swyddogion i'w ddal ef, efe a ddywedodd, "Os myfi yr ydych yn ei geisio, gadewch i'r rhai hyn fyned ymaith." Y mae cyfiawnder yn gadael hela ar ol y dorf wrthryfelgar, ac yn ei geisio ef, ac ef yn unig; gan ei fod ef wedi ei wneuthur yn felldith drostynt hwy. Yn y modd hyn yr arfaethwyd ef i fod yr aberth dros ei holl hâd, yr hwn y byddai tân y dialeddol lid i'w losgi ef, hyd oni byddai iddo anfon allan arogl peraidd, arogl o orphwysfa i enynol gyfiawnder y Duw oedd wedi ei anfoddloni.

2. Un pwnc arbenig arall a sefydlwyd yma oedd, y byddai i'r felldith a drosglwyddwyd arno ef, gael ei chyflawni yn anfeidrol arno ef fel yr ail Adda, ein cynddrychiolwr ni; trwy yr hyn y byddai iddo ef farw yn wirioneddol dros ei hâd, i gyflawn foddlonrwydd am yr holl sarhad a wnaethwyd i anrhydedd y Duw anfeidrol, trwy eu holl bechodau hwynt. Ofer yw y felldith hòno, yr hon nid yw yn cymmeryd un effaith: eithr nid oedd melldith y gyfraith santaidd yn ddiachos, felly nis gallasai fethu dyfod, yn ei hanfeidrol bwys, er boddlonrwydd i gyfiawnder. Yn âwr, pe buasai hi yn dyfod felly arnynt hwy, hwy a fuasent yn dragywyddol yn boddloni, eithr nis gallasent byth orphen eu boddlonrwydd. Eithr, trwy iddi ddyfod arno ef, fe brynwyd eglwys Dduw â'i briod waed ef, Act. xx. 28. "A gwaed Iesu Grist ei fab ef, sydd yn

eu glanhau ni oddiwrth bob pechod," Ioan i. 7. Yr oedd anfeidrol urddas y person a fu farw, yn gwneuthur y cyflawniad o'r felldith arno ef i farwolaeth, yn anfeidrol mewn gwerth, yn rhoddi cyflawn iawn i'r anfeidrol gam, yn ol y cyfrif a wnawd o hono gan y gyfraith a chyfiawnder.

Ac yma, fe gytunwyd, ac a sefydlwyd, y byddai i'r felldith gael ei chyflawni ar yr holl ddyn; yr oedd hyny yn ddyledus iddynt hwy: a chan hyny, y byddai iddo ef ddyfod yn dlawd, ac heb le i roddi ei ben i lawr: y byddai iddo ddyoddef newyn o eisieu bara; a syched o eisieu diod: y byddai i'w enw a'i gymmeriad ef gael suddo, trwy gael ei lwytho â gwarth ac enllib gwael; ei unig gyfeillion yn myned oddiamgylch i osod dwylaw arno fel dyn gwallgof: y byddai iddo gael ei gyffif yn bryf, ac nid gwr; yn warthrudd dynion, a dirmyg y bobloedd: ei holl goelbren yn y byd yn gystuddiedig, yn erledigaethus, ac yn ddirfawr isel: ac yn y diwedd, wedi ei ddiosg o'i wisgoedd, y byddai iddo gael ei hongian yn noeth gerbron yr haul, rhwng dau ddrwg-weithredwyr, megis pe buasai ef y gwaethaf o'r tri.

Yn fwy penmodol, yma yr ammodwyd ac y cytunwyd ynddo, 1. Y byddai i'r felldith gael ei chyflawni ar ei gorff bendigedig ef; yn gymmaint a bod eu cyrff hwynt yn agored iddi, trwy fod yn offerynol i bechod, a dianrhydedd i Dduw: y byddai iddo gael ei grogi ar bren, fel y gallai yr holl fyd yn hyny, ddarllen digofaint Duw yn erbyn y toriad o'r cyfammod cyntaf, trwy fwyta o'r pren gwaharddedig, gan ei fod yn ysgrifenedig, "Melldigedig yw pob un sydd y'ngrog ar bren:" y byddai i'r felldith fyned dros, ac angeu gerdded trwy bob rhan o'i gorff bendigedig ef: y byddai i'w ben ef gael ei glwyfo yn anmharchus, a choron o ddrain yn cael ei gosod arno; ei wyneb-pryd yn cael ei lygru yn fwy nag un dyn;

ei gefn yn cael ei roddi i'r curwyr; ei gernau i'r rhai a dynent y blew; ei wyneb heb ei guddio oddiwrth waradwydd a phoeredd; ei dafod yn cael ei wneuthur i lynu wrth daflod ei enau; ei ddwylaw a'i draed yn cael eu trywanu a'u hoelio wrth y groes; ei holl esgyrn yn cael eu dadgymalu; ei galon yn toddi fel cwyr, yn nghanol ei ymysgaroedd; ei waed yn cael ei dywallt; ei nerth wedi gwywo: ac fel yn y diwedd y byddai iddo derfynu a marw; cael ei ysgar oddiwrth ei enaid; ei drywanu a gwaywffon; a'i osod i orwedd yn llwch angeu.

2. Y byddai iddi gael ei chyflawni ar ei enaid santaidd ef, mewn modd neillduol; oherwydd yn gymmaint ag mai eu heneidiau hwynt oedd y prif weithredwyr mewn pechod: y byddai iddo ef fyned dan ddigofaint Duw ynddo, gan fod o hyd trwy ei holl fywyd yn wr gofidus, a chynefin â dolur: a thuâ'r diwedd y byddai i fod, awr a gallu y tywyllwch; yn yr hon y byddai i genfigen dynion, gallu a chynddaredd y diafliaid, yn un, ymosod yn ei erbyn ef, gan wneuthur eithaf eu hegni arno ef; ac yno y byddai i'r cyflawn lifeiriant o ddialeddol lid y nef ddyfod, gan rolio i mewn ar ei enaid ef: y byddai iddynt orlifo drosto felly, fel y byddai iddo gael ei daro â syndod blin, ei lanw â thrallod; ei lwytho â thrymder, a'i orchuddio a dirfawr dristwch: y byddai y fath wasgfa o Ddwyfol lid ar ei enaid santaidd ef, ac a'i gosodai yn y fath ing, fel y chwysai hyd y nod ddafnau o waed; ac y dygai drosto ef gyflawn ddiffyg o gysur, fel y byddai megis yn ei doddi ef o'i fewn: fel, tra yr oedd ef yn marw marwolaeth gorfforol ar y groes, y gallai efe hefyd farw marwolaeth ysbrydol, y fath ag yr oedd yr enaid mwyaf pur a santaidd yn alluog iddi.

Yn hyn yr oedd y farwolaeth a bennodwyd yn

y cyfammod i'r ail Adda, ein cynddrychiolwr ni, marwolaeth trwy rinwedd y felldith a drosglwyddwyd arno ef, o hir barhad, ac yn rhagorol, er cyflawn foddlonrwydd i gyfiawnder dialeddol. 1. Yr oedd hi yn farwolaeth o hir barhad. Yr oedd ef yn marw, yn iaith y cyfammod gweithredoedd, nid yn unig ar y groes, eithr dros holl dymmor ei fywyd; yr oedd y farwolaeth oedd yn gospedigaeth y cyfammod, yn gweithio ynddo ef o'r groth, hyd oni osododd hi ef i orwedd yn y bedd. Oherwydd paham, yr oedd yn gweddu iddo ef gael ei wneuthur o wraig o isel radd, a chael ei eni yn march-dŷ y gwestle; nid oedd dim lle iddo ef yn y lletty; ei roi i orwedd yn y preseb; nid oedd un cryd i'w dderbyn ef; ei waed mabanaidd ef yn cael ei dywallt yn yr enwaediad, megis pe buasai yn bechadur; ïe, ei fywyd mabanaidd ef yn cael ei geisio gan erlidwyr creulon, a'i fam yn gorfod ymadael â'i gwlad gydâg ef, a myned i'r Aipht. Wedi dychwelyd, yr oedd yn rhaid iddo fyw bywyd aneglur, mewn lle anenwog, o'r hwn nid oedd dim mawr, na da, yn cael ei ddysgwyl, Ioan i. 46. Ac ar ol dyfod allan o'i aneglurder, yn cael ei osod i fynu fel gwrthddrych i ddrwg-ewyllys, dirmyg, a chamdriniaeth ŵyrog y byd; hyd oni ddarfu iddo trwy ddwylaw Iuddewon a chenedloedd, gael ei ddodi i farwolaeth ar y groes. 2. Yr oedd hi yn farwolaeth arteithiol. Nid oedd dim tosturi, dim arbed ynddi: eithr y felldith yn ei dwyn hi i'r gradd uchaf. Dim arbed oddiwrth Dduw digllawn, Rhuf. viii. 32. Dim arbed oddiwrth ddynion drwg, wedi eu gollwng yn rhydd arno ef, yn ei wthio ef fel teirw, yn rhuo arno ac yn ei ysglyfaethu ef fel llewod, ac yn ei rwygo fel cwn, pan un waith y daeth eu hawr hwy a gallu y tywyllwch, Psal. xxii. 12, 13, 16. Nid oedd un gair da yn cael ei

ddywedyd am dano ef, y'nghanol ei arteithiau, gan y rhai oedd o'i amgylch ef;' eithr yr oedd yn cael ei watwor a'i anmharchu yn greulon ganddynt. Llawer llai y gwnaethwyd gweithred dda iddo. Nis caniatwyâd diod o ddwfr iddo, eithr cynnygwyd gwinegr iddo yn ei syched, yr hwn oedd arno trwy fod tân y Dwyfol lid yn yfed i fynu ei ysbrydoedd a'i ireidd-dra ef. Nid felly yn unig, eithr yr oedd unig wyneb y nefoedd yn cuchio arno ef: yr oedd yn rhaid i'r haul beidio a goleuo iddo, eithr goblygu ei hun oddiwrtho ef mewn tywyllwch; oherwydd melus yw y goleuni, ac y mae yn hyfryd gweled yr haul.

Yn ddiweddaf, yr oeddid wedi sefydlu yn yr erthygl hwn, y byddai iddo ef ddyoddef hyn oll yn wirfoddol, yn ostyngedig, ac yn ymroddgar, o barch i anrhydedd Duw oedd wedi cael cam. Yn gyfattebol i hyn, gan lafaru am ei einioes, y mae yn dywedyd, "Nid oes neb yn ei dwyn oddiarnaf fi: ond myfi sydd yn ei dodi hi i lawr o honof fy hun." Ioan x. 18. cymharwch Psal. xl. 6, 7. Yr oedd y gyfraith yn gofyn hyn oddiwrth y rhai yr oedd ef yn dyoddef drostynt, ac yn euogfarnu pob grwgnach ac annyoddefgarwch, ac yn eu rhwymo hwynt i ufudd-dod a dyoddefaint yn gyssylltiedig. Eithr pa fodd y gallasent hwy ddyoddef y llwyth o ddialeddol lid, y rhai nis gallant ddyoddef loes o'r gymmalwst neu o'r grauan-dostedd, heb rhyw radd o annyoddefgarwch, y'ngolwg y gyfraith santaidd? Oherwydd paham, fe drefnwyd y byddai i Grist, fel eu cynddrychiolwr hwynt, ddyoddef eu cospedigaeth hwynt yn wirfoddol, mewn perffaith amynedd, ac ymroddiad: y byddai iddo ef fyned fel oen i'r lladdfa, yn dawel yn rhoddi i fynu ei ewyllys ddynol i'r ewyllys Ddwyfol; ac yn gwneuthur ei ufudd-dod yn ei ddyoddefiadau,

mor amlwg a'i ddyoddefiadau ei hunain: fel y'nghanol ing ei boenau, ni wnai lettya y meddwl anweddaidd lleiaf am Dduw, eithr yn ei gydnabod ef yn santaidd ynddynt oll, Psal. xxii. 3. Nac ychwaith y grwgnach lleiaf yn erbyn ei lofruddwyr; yn arwydd o hyn, efe a weddiodd drostynt tra yr oedd ef ar y groes, gan ddywedyd, "O Dad, maddeu iddynt: canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur." Luc xxiii. 34. Hyd yma am yr erthyglau ammodol.

*Casgliad oddiwrth y rhan ammodol o'r cyfammod.*

Yn y modd hyn, fel yr ydym wedi dangos, yr oedd ammod bwysfawr y cyfammod gras yn sefyll: ac oddiyno y mae y casgliadau canlynol, yn gasgladwy mewn ffordd dêg.

*Cas.* 1. Y mae pryniad yr enaid yn werthfawr. Onid yw? Edrychwch ar bris y pwrcas, gollyngdod yr eneidiau, megis y trefnwyd ef yn y cyfammod; genedigaeth santaidd, bywyd cyfiawn, a marwolaeth foddhaol, Mab Duw; ac y mae yn rhaid penderfynu ei bod hi yn brynedigaeth werthfawr. Trowch eich golwg yma, 1. Chwychwi nad yw yn gwneuthur cyfrif o'ch eneidiau. Gwelwch yma werth yr eneidiau hyny y rhai yr ydych yn eu gwerthu am beth na thal dim, i foddloni nwyd lygredig, gwewyr blys o un fath neu y llall. Gwerthfawr oedd y casgliad o'r hyn yr ydych chwi yn y modd hyn yn ei daflu ymaith. Yr ydych chwi yn eu gadael i fyned am bris isel iawn: eithr nis gallasai Crist gael un o honynt oddiar law cyfiawnder, ond am y pris o'i werthfawr waed. Nis gallwch chwi adael gwageddau y byd presenol am danynt, na threulio diwrnod neu awr ddifrifol yn eu cylch hwynt: eithr fe ddarfu iddo ef, ar ol tymmor bywyd o dristwch, fyned dan y farwolaeth fwyaf

chwerw am danynt. Beth dybygech chwi? A oedd ef yn anystyriol ac yn rhy haelionus yn ei waith yn gwneuthur y fath gytundeb am brynedigaeth eneidiau? Yr oedd ef yn anfeidrol gyfiawn yr hwn oedd yn cynnyg yr ammod; yr oedd yntef yn anfeidrol ddoeth yr hwn oedd yn ymrwymo iddi. Yr oedd yr hwn oedd yn mynu y pris hwn am eneidiau yn Dad; ac yr oedd yr hwn a'i talodd ef yn Fab. Cywilyddiwch a gwridiwch, i ddodi gwerth mor fach ar yr eneidiau hyny y darfu i'r nef osod pris mor fawr arnynt. 2. Chwychwi y rhai y mae maddeuant pechod, a iachawdwriaeth, yn beth o isel bris yn eich meddwl, diwigiwch eich camsyniad oddiyma. Yr ydych yn rhedeg yn ddiofn yn y blaen mewn pechod, gan feddwl y gall yr oll gael ei osod yn ei le etto, gydâ, *Duw a faddeuo i mi; cymmer drugaredd ar fy enaid;* megis pe y gallech neidio o arffed Dalilah i fynwes Abraham. O ynfydrwydd dychrynllyd! A ydyw genedigaeth isel a gwael, bywyd athrist, a marwolaeth chwerw Iesu, Mab Duw, ddim yn ddigonol i roddi i ddynion feddwl cywir ac anrhydeddus am faddeuant pechod! Edrychwch i ammod y cyfammod am faddeuant, wedi ei ysgrifenu y'ngwaed Oen Duw; a dysgwch y pris y mae y Duw cyfiawn yn ei ddodi ar ei faddeuant a'i iachawdriaeth. Gwel, O bechadur! mai nid geiriau ydynt, ond gweithredoedd: nid addewidion a bwriadau i fod yn well, ond perffeithrwydd o santeiddrwydd ac ufudd-dod; nid y tyniad o ocheneidiau, a'r tywalltiad o ddagrau, eithr y tywalltiad o waed; ac nid dy waed di ychwaith, eithr gwaed o anfeidrol werth, yr hwn a allasai brynu maddeuant pechod a iachawdwriaeth. Ac os nad yw yr holl gyfiawnder hwnw a gyflawnodd Crist, genyt ti am danat trwy ffydd, i'w gyflwyno i Dduw am faddeuant, ni ennilli di ef byth. Yn neillduol,

yr ydych yn barod i feddwl yn ysgafn am y pechod y cawsoch eich geni ynddo, a'r llygredigaeth sydd yn glynu wrth eich natur: eithr gwybyddwch, nad yw Duw yn meddwl yn ysgafn am y rhai hyn. Yr oedd yn erthygl anhepgorol o'r cyfammod, y byddai i Grist gael ei eni yn santaidd, a dal gafael ar santeiddrwydd y natur ynddo hyd y diwedd: heb hyny, fe fuasai yr enedigaeth halogedig, a'r natur lygredig, a darddodd i ni o Adda, yn ein cadwyno ni yn dragywyddol i lawr dan y felldith. 3. Chwychwi sydd a meddyliau isel am y gyfraith santaidd, unionwch eich camsyniad peryglus trwy gynnorthwy y drych hwn. Nid ydych chwi yn gwneuthur un sylw o droseddu ei gorchynion hi; yr ydych yn ddiofal ac yn diystyru ei melldith hi: megis y mae hi yn gyfraith, nid ydych yn dangos cymmaint o barch iddi ag ydych i gyfreithiau dynion; ac fel y mae hi yn rheol cyfammod, yr ydych yn edrych arni megis allan o'i dydd-nodiad, heb fod mewn un trafferth pa fodd y gall hi gael ei boddloni drosoch chwi. Ac a gaiff anrhydedd y gyfraith santaidd orwedd yn y llwch yn eich achos chwi? Yn hytrach nag y byddai iddi orwedd felly, yn achos Sodom a Gomorah, fe fynai Duw eu gosod hwynt i orwedd yn lludw, â thân a brwmstan. Ië, er amddiffyn anrhydedd y gyfraith, fe gaiff yr holl fyd hwn ei losgi yn ulw, a'r holl rai ansantaidd eu bwrw allan o fydd yr Arglwydd dros byth. Ac yn achos y rhai cadwedig, fe fynai Duw i felldith y ddeddf gael ei chyflawni ar ei Fab ei hun, fel eu machniydd hwynt, a'i gorchymynion hi i gael perffeith ufudd-dod, y'mhob pwnc, ganddo ef yn eu henw hwynt. Yn sicr, os ydych yn feddiannol ar un rhan yn hyn, hi a fydd yn fawr ac yn anrhydeddus yn eich golwg, megis y mae y'ngolwg Duw.

*Cas.* 2. Nid yw y gyfraith ar golled, trwy fod bywyd a iachawdwriaeth yn cael ei roddi i'r rhai sydd yn credu yn Nghrist. Y mae hi mor bell oddiwrth gael ei gwneuthur yn ddirym trwy ffydd, fel y mae hi yn cael ei chadarnhau trwy hyny, megis y mae yr apostol yn tystiolaethu, Rhuf. iii. 31. Ni buasai Duw byth yn cyfranu ei faddeuant ar draul anrhydedd ei gyfraith, nac yn cyhoeddi un dyn yn gyfiawn, heb i gyfiawnder y gyfraith gael ei gyflawni, un ai ganddo ef, neu ynddo ef gan arall, Rhuf. viii. 4. Oherwydd paham, gan fod bywyd a iachawdwriaeth wedi ei arfaethu i'r etholedigion, fe gymmerwyd i mewn holl gyfrifon y gyfraith yr hyn oedd ganddi i archu oddiarnynt hwy am fywyd; ac fe osodwyd trefn anffaeledig ar lawr tuag at eu talu hwynt; fe ddarfu i'r llwyth o'r taliad o honynt gael ei drosglwyddo ar Grist, eu machnïydd hwynt. Trwy y newid personau hyn ni chafodd y gyfraith un golled. Na, yr oedd ef yn fwy er anrhydedd y gyfraith iddo ef gael ei wneuthur dani hi, a'i boddloni hi, trwy rinwedd yr hawl oedd ganddi arno ef, trwy yr ail gyfammod, nag i neb a fuasai yn greaduriaid yn unig, ei chyflawni hi yn mhob pwnc. Eithr y gwirionedd yw, nis gallasent hwy, a hwythau yn bechaduriaid, byth ei boddloni hi yn gyflawn trwy un moddion; pe y buasai hi yn eu dilyn hwynt i dragywyddoldeb, ac yn dirgeisio oddiwrthynt, ni buasai hi byth yn cael ei digon oddiwrthynt; eithr yn awr, trwy i Grist gymmeryd eu dyled arno ei hun, fe'i talwyd ef i'r ffyrling eithaf.

*Cas.* 3. Y mae gan ffydd waelod eang a chadarn i sefyll arno gerbron yr Arglwydd. Y mae gan y credadyn ddadl gadarn am fywyd a iachawdwriaeth, yr hwn nis gall aflwyddo; sef ammod y cyfammod wedi ei chyflawni gan Iesu Grist, ie, pob cyfiawnder. "Am hyny, frodyr,

gan fod i ni ryddid i fyned i mewn i'r cyssegr trwy waed Iesu—neshawn â chalon gywir, mewn llawn hyder ffydd," Heb. x. 19, 22. Nis gall astellod toredig trugaredd anghyfammodol, a gweithredoedd dyn ei hun, y rhai y mae rhyfyg yn sefydlu arnynt, lai na methu; gan nad yw y gyfraith yn caniatâu bywyd i bechaduriaid ar y seiliau hyny. Eithr yn gymmaint a bod y rhodd o Grist, a'i gyfiawnder, yn cael ei chyhoeddi yn yr efengyl, trwy awdurdod y nef, nis gall yr hwn a dderbynio y rhodd hòno trwy ffydd, ac a'i gwnelo hi ei unig ddadl gerbron yr Arglwydd, fethu o iachawdwriaeth. Rhuf. v. 17. "Mwy o lawer y caiff y rhai sydd yn derbyn lliosogrwydd o ras, ac o ddawn cyfiawnder, deyrnasu mewn bywyd, trwy un, Iesu Grist." Yn mha le, nid yw y *lliosogrwydd* y dywedir am dano, yn perthynu i'r gwahanol raddau o'r gras neu y dawn, eithr i'r trosedd, megis yr ymddengys oddiwrth adn. 20. Megis pe y dywedasai, "Y rhai sydd yn derbyn y gras a'r dawn o gyfiawnder, yr hwn sydd yn amlhau y'mhellach na throsedd Adda, gan eu hachub hwynt o'r llynclyn o ddinysytr y darfu iddo eu trochi hwynt ynddo." Y mae ffydd trwy uno y pechadur â Christ, pen yr ail gyfammod, yn ei wneuthur ef yn gyfranog o gyfiawnder Crist, mor wirioneddol ag y darfu i'w berthynas gyfammodol ef ag Adda, ei wneuthur ef yn gyfranog o euogrwydd Adda: felly trwy gael yr hyn oll ag oedd Crist, a wnaeth Crist, ac a ddyoddefodd Crist, i gyflawni ammod yr ail gyfammod, i'w ddadleu am fywyd a iachawdwriaeth, nid yw yn bosibl y gall yr hawl aflwyddo; y mae cyfiawnder yn gystal a thrugaredd, yn pleidio dadl ffydd, fel peth cyfiawn gydâ Duw, 2 Thes. i. 6, 7.

*Cas. diweddaf.* Y mae pawb ag y sydd yn Nghrist, pen y cyfammod gras, ac felly wedi eu

dwyn yn bersonol iddo, yn dufewnol gyfiawn, neu yn santaidd. Oherwydd, er mai Adda yn unig a dorodd y cyfammod yn bersonol, trwy y trosedd holl ddinystriol; etto y maent hwy y rhai y cyfrifir ei euogrwydd ef iddynt, oddiar hyny yn dyfod yn dufewnol bechadurus, trwy lygredigaeth y natur sydd yn cael ei drosglwyddo o hono ef iddynt hwy; felly, er mai Crist ei hun a gyflawnodd ammod yr ail gyfammod, etto y mae y rhai hyny y cyfrifir ei gyfiawnder ef iddynt, yn dyfod oddiar hyny yn dufewnol gyfiawn, trwy y tufewnol ras sydd yn cael ei drosglwyddo o hono ef iddynt hwy gan yr Ysbryd: felly y mae yr apostol yn dangos, yn y lle a goffhawyd uchod, Rhuf. v. 17. "Canys os trwy gamwedd un y teyrnasodd marwolaeth trwy un; mwy o lawer y caiff y rhai sydd yn derbyn lliosogrwydd o ras, ac o ddawn cyfiawnder, deyrnasu mewn bywyd trwy un, Iesu Grist." Yn mha ddull y teyrnasodd marwolaeth trwy gamwedd Adda? Nid yn unig yn y pwnc o euogrwydd, trwy yr hyn yr oedd ei hiliogaeth ef yn cael eu rhwymo drosodd i ddinystr; eithr hefyd yn y pwnc o'u bod yn farw i bob da, yn farw mewn camweddau a phechodau: gan hyny y mae yn rhaid y bydd i'r rhai a dderbyniant ddawn cyfiawnder, trwy hyny gael eu dwyn i deyrnasu mewn bywyd, nid yn unig yn gyfreithiol mewn cyfiawnhad, eithr hefyd yn foesol mewn santeiddhad yn cael ei ddechreu yma, a'i berffeithio ar ol hyn.

Yn ganlynol, yn gyfattebol i'r tair rhan yn ammod y cyfammod gras, yr ymrwymodd yr ail Adda iddynt, ac a'u cyflawnodd, sef, *santeiddrwydd natur, cyfiawnder bywyd, a boddlonrwydd am bechod;* y mae tri *chymmeriad* i'w gael y'mhob deiliad addas, o'r rhai sydd yn bersonol wedi eu dwyn i'r cyfammod, a chyfiawnder Crist yn gyfrifol iddynt, ac am danynt.

*Cym.* 1. Y maent oll wedi eu geni drachefn, ac felly wedi eu gwneuthur yn gyfranog o natur newydd a santaidd, 2 Cor. v. 17. "Gan hyny (sef, gan iddo farw dros bawb, adn. 15.) od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd." Fe ddarfu i enedigaeth santaidd Crist, sicrhau genedigaeth newydd santaidd iddynt hwy ynddo ef: felly y maent oll yn greaduriaid newydd, wedi eu creu yn Nghrist Iesu i weithredoedd da, Eph. ii. 10. yn ddyn newydd yn Nghrist, mor sicr ag iddynt gael eu llygru yn Adda. A pha fodd y gall y peth fod yn wahanol? A all dyn gael ei impio yn y wir winwydden, ac heb gyfranogi o nodd a sudd y boncyff, hyny yw, ysbryd a gras Crist? Na all yn sicr: Od oes neb heb ysbryd Crist ganddo, nid yw hwnw yn eiddo ef, Rhuf. viii. 9. Neu, a all ysbryd a gras Crist fod yn neb, ac etto heb un cyfnewidiad wedi ei wneuthur yn ei natur, eithr o hyd yn aros yn anadnewyddol? Na all yn wir: "Os yw Crist ynoch, y mae y corff yn farw oherwydd pechod; eithr yr ysbryd yn fywyd, o herwydd cyfiawnder," adn. 10. Ystyriwch hyn, chwychwi y rhai ydych yn cymmeryd arnoch eich bod yn pwyso ar gyfiawnder Crist; eithr yn esmwyth iawn yn y pwnc hwn, Pa un a ydych wedi eich geni drachefn ai peidio? pa un a oes natur santaidd wedi tarddu o Grist i chwi ai peidio? Credwch ef, ha wyr, os nad yw felly, nid oes genych chwi un hawl; rhan, na chyfran y'nghyfiawnder Crist. Chwi a ellwch ymhoni ar gystal sail, mai er fod euogrwydd pechod Adda yn gyfrifol i chwi, etto na ddarfu i lwgr y natur ddeillio o hono ef i chwi; ac ymhoni fod cyfiawnder Crist yn gyfrifol i chwi, tra nad ydych wedi eich geni drachefn, a'ch natur heb ei chyfnewid, trwy'r cyfranogiad o santeiddiol ras o Grist i chwi. Na thwyllwch eich hunain; y mae yn rhaid i chwi

gael eich adgenedlu, onidê chwi a drengwch; oherwydd, "oddieithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw," Ioan iii. 3.

*Cym.* 2. Y maent oll yn gyfiawn ac yn santaidd yn eu bywydau, Esay lx. 21. "Dy bobl hefyd fyddant gyfiawn oll," pen. lxii. 12. "Galwant hwynt hefyd yn bobl santaidd." Pa fodd y daeth annuwioldeb, ac anghyfiawnder, a halogedigaeth, i mewn i'r byd, yr hwn sydd yn awr yn gorlifo dros bob ceulanau? ai nid trwy un dyn, trwy bechod Adda, yr hwn sydd yn cael ei gyfrif i holl ddynol-ryw? Rhuf. v. 12. Am hyny byddwch sicr, os cyfrifir cyfiawnder yr ail Adda i chwi, y daw santeiddrwydd bywyd gydâg ef, 1 Cor. vi. 11. "Eithr chwi a olchwyd, eithr chwi a santeiddiwyd, eithr chwi a gyfiawnhawyd." A ydyw santeiddhad gan hyny yn myned o flaen cyfiawnhad? Nac ydyw: ond y mae ganddo ymddibyniad anghenrheidiol ar gyfiawnhad; ac yn ei brofi ef i'r byd, ac i gydwybod dyn ei hun. Yn anghyfiawnhaol, yn ansanteiddiol; ac yn ansanteiddiol, yn anghyfiawnhaol. A ddaeth ein Iachawdwr bendigedig i'r byd, ac arwain bywyd santaidd a chyfiawn yn ein natur ni, i'r dyben i ddynion fyw fel y byddont yn ewyllysio? Na ddo, eithr yn gyfiawn i'r gwrthwyneb; sef "gwedi ein rhyddhau o law ein gelynion, ei wasanaethu ef yn ddiofn; mewn santeiddrwydd a chyfiawnder ger ei fron ef, holl ddyddiau ein bywyd," Luc i. 74, 75. Os bu Crist gan hyny fyw drosoch chwi, yn ddiau chwithau a gewch fyw iddo yntef. Ystyriwch hyn, y rhai ydych y'mhell oddiwrth gyfiawnder bywyd, yn byw yn yr esgeulusdra o ddyledswyddau, un ai y lech gyntaf, neu yr ail, neu ynte y ddwy. Y mae eich bywyd annuwiol ac anghyfiawn chwi yn egluro eich bod chwi etto yn eich pechodau, dan y felldith, ac yn

M

mhell oddiwrth y cyfrifiad o gyfiawnder. Y mae mewn gwirionedd gyfiawnder o'r eiddo Crist; eithr och! nid yw ef am danoch chwi: yr ydych chwi yn noethion er hyny, ac yn sefyll yn agored i'r dialeddol lid.

*Cym.* 3. Y mae yr hen ddyn wedi ei groeshoelio ynddynt oll, Gal. v. 24. "A'r rhai sydd yn eiddo Crist, a groeshoeliasant y cnawd, a'i wyniau, a'i chwantau." Gan hyny yr ydwyf yn dywedyd i chwi, y'ngeiriau yr apostol, Rhuf. viii. 13. "Os byw yr ydych yn ol y cnawd, meirw fyddwch, eithr os ydych yn marweiddio gweithredoedd y corff trwy yr Ysbryd, byw fyddwch." Pan y darfu i'n Hiachawdwr hongian ar y groes, fe hongiodd yno fel cynddrychiolwr o'r oll ag y sydd yn eiddo ef, a'u holl bechodau hwynt arno ef trwy gyfrifiad, fel y byddai i gorff pechod gael ei ddirymu, yn ei ddyoddefiadau ef drosto, Rhuf. vi. 6. Fe hongiodd yno fel yr effeithiol haeddiannol achos o'u marweiddiad hwynt, fel trwy ei farwolaeth y byddai iddo ef ddinystrio nerth marwolaeth ynddynt hwy, yr hyn nid yw yn ymddangos mewn dim yn fwy nag mewn chwantau byw yn ysglyfaethu ar eu heneidiau, Hos. xiii. 14. "Oddiwrth angeu y gwaredaf hwynt: byddaf angeu i ti, O angeu:" edrych Tit. ii. 14. Rhuf. vi. 6, 7. Eph. v. 25, 26. Ac efe a hongiodd yno megis y cynllun achos o'u marweiddiad hwynt; fel y mae yr oll ag y sydd yn eiddo ef, ac a bechasant yn ol camwedd Adda, yn yr un modd, wedi eu croeshoelio, ac yn marw i'r bechod, yn ol cyffelybiaeth ei groeshoeliad a'i farwolaeth ef, gan fod wedi eu croeshoelio gydâg ef, Gal. ii. 20. Wedi eu gwneuthur yn gyd-blanhigion ag ef, y'nghyffelybiaeth ei farwolaeth ef, Rhuf. vi. 5. A chymdeithas ei ddyoddefiadau ef yn eu gwneuthur hwynt yn gyd-ffurfiol a'i farwolaeth

ef, Phil. iii. 10. A fyddwch chwi gan hyny fyw yn ol y cnawd; heb ymdrech yn ei erbyn, eithr cyflawni ei chwantau ef; gan fyw mewn pechod, ac i bechod, yn lle bod wedi eich marweiddio iddo; ac etto yn ymhoni fod y boddlonrwydd a wnaeth Crist wedi ei gyfrif i chwi er cyfiawnder? mewn gwirionedd chwi a ellwch, ar gystal seiliau, ddywedyd, i waed Crist, yr hwn a dywalltwyd dros ei bobl ef, gael ei brofi yn aneffeithiol; ac iddo fethu cyrhaeddyd ei amcan a'i fwriad yn ei waith yn dyoddef drostynt hwy; ac iddo ef farw drosoch chwi, fel y gallech chwi fyw yn eich pechodau, yn ddiberygl. Fe wna y fath bethau a hyn broffes gableddus. Yn ganlynol, y mae eich bywyd rhyfygus, a'ch ymarweddiad pechadurus chwi, yn yrfa o gabledd ymarferol yn erbyn Mab Duw, yn ei wneuthur ef yn weinidog pechod; ac yn egluro bod eich gwaith yn honi hawl i'r cyfrifiad a'r boddlonrwydd a wnaeth efe, yn gyfan-gwbl ofer. Na, mewn gwirionedd, os oes genych chwi un hawl gadwedigol yn marwolaeth Crist, y mae eich hen ddyn wedi ei groeshoelio gydag ef, Rhuf. vi. 6. Ac yr ydych wedi marw gydag ef; marw gydag ef i bechod, i'r byd, ac i'r gyfraith.

1. Os oes genych chwi hawl gadwedigol yn marwolaeth Crist, yr ydych wedi marw gydag ef i bechod, Rhuf. vi. 10, 11. "Fel y bu efe farw, efe a fu farw unwaith i bechod. Felly chwithau hefyd, cyfrifwch eich hunain yn feirw i bechod." Tra y bu ein Harglwydd Iesu byw yn y byd, yr oedd pechodau yr holl etholedigion, o ran yr euogrwydd o honynt, yn hongian oddiamgylch iddo, ac yn ei wneuthur ef yn wr gofidus o hyd. Pan yr oedd ef ar y groes, yr oeddent yn gweithio arno yn y modd mwyaf ffyrnig, yn ei frathu ef hyd at yr enaid, hyd nes lladdasant ef, a'i gael i orwedd yn y bedd. Pan y gwnaethant

eu heithaf yn ei erbyn ef, nis gallasent wneuthur ychwaneg. Felly wrth farw dros bechod, efe a fu farw iddo, ac fe'i gwaredwyd ef oddiwrtho: ac yn ei adgyfodiad, fe'u hysgydwodd hwynt oll ymaith, megis yr ysgydwodd Paul y wiber oddiwrth ei law i'r tân, ac heb deimlo dim niwed trwy hyny; gan adgyfodi o'r bedd; ie, fel yr ymddengys ef yr ail waith heb bechod. Oherwydd paham, os ydych chwi mewn gwirionedd yn gwybod am gymdeithas ei ddyoddefiadau ef; os ydych yn wirioneddol yn cael cymdeithas ynddynt hwy, fe wna marwolaeth ei ffordd oddiwrth Grist y pen, atoch chwi fel aelodau; nis gall ei farwolaeth ef i bechod, fethu gweithio eich marwolaeth chwithau iddo hefyd. Os ydych wedi marw, mewn gwirionedd, gydâ Christ, megis wedi eich impio ynddo ef, y mae pechod wedi cael ei glwyf marwol ynoch chwi; y mae y rhwymau sydd yn rhwymo eich calonau a'ch chwantau a'u gilydd wedi eu gollwng yn rhydd; a chwi a fyddwch yn ysgwyd ymaith y nyth-lwyth sarffaidd o honynt i'r tân, yn y beunyddiol ymarferiad o'i marweiddiad: Eithr os nad ydych wedi marw, ond o hyd yn byw i bechod, y mae hyny yn brawf anffaeledig nad ydych o nifer aelodau Crist, Rhuf. vi, 2, 3. "A ninneu wedi meirw i bechod, pa wedd y byddwn byw etto ynddo ef? Oni wyddoch chwi, am gynnifer o honom ag a fedyddiwyd i Grist Iesu, ein bedyddio ni i'w farwolaeth ef?"

2. Os oes genych chwi hawl gadwedigol yn marwolaeth Crist, yr ydych wedi marw gydag ef i'r byd, Col. iii, 1. 3. "Am hyny os cyd-gyfodasoch gydâ Christ, ceisiwch y pethau sydd uchod. Canys meirw ydych, a'ch bywyd a guddiwyd gydâ Christ yn Nuw." Fe'i cashaodd y byd ef, ac a ymddygodd yn angharedig iawn tuag ato tra bu efe ynddo; a phan y bu ef farw, efe a

ymadawodd ag ef dros oll, Ioan xvii. 11. "Ac nid wyf mwyach yn y byd—a myfi sydd yn dyfod attat ti." Y lletty llonyddaf a ganiatâodd y byd erioed iddo ef oedd bedd: ar ol dyfod allan oddiyno, ni chysgodd ef byth noswaith arall ynddo. Efe a arosodd yn wir ddeugain niwrnod ynddo ar ol hyny; cynnifer o ddyddiau ag y bu yr Israeliaid o flynyddoedd yn yr anialwch; y blaenaf yn gynllun, a'r olaf yn gysgod, o fywyd y Cristion, o'i droedigaeth hyd ei symudiad i fyd arall: er hyny yr oedd ef yn farw i'r byd o hyd; efe a gyfeillachodd yn awr ac yn y man a'i eiddo ei hun ar ol hyny, eithr nid â'r byd byth mwy. Yn awr, os ydych yn eiddo ef, yr ydych wedi marw i'r byd hefyd, gydâg ef, trwy rinwedd ei farwolaeth ef; gan fod wedi eich croeshoelio iddo ef, Gal. vi. 14. Y mae undeb a Christ trwy ffydd, yn dodi pechaduriaid i orwedd yn farw yn medd Crist, ac felly, yn ysgar rhyngddynt hwy a'r byd dros byth: ac hefyd, y mae yn eu cyfodi hwynt i fynu drachefn gydâ Christ, i agwedd gyfan-gwbl newydd o fyw; heb fod mwy yr un dull o fywyd ag yr oeddent yn ei fyw cyn eu hundeb a Christ, mwy nag yr oedd y bywyd hwnw y bu Crist fyw ar ol ei adgyfodiad, yr un dull a'r bywyd ag y bu ef byw cyn ei farwolaeth. Rhuf. vi. 4. "Claddwyd ni gan hyny gydâg ef trwy fedydd i farwolaeth; fel megis ag y cyfodwyd Crist o feirw trwy ogoniant y Tad, felly y rhodiom ninnau hefyd mewn newydd-deb buchedd." Os yw eich hawl i'r nef wedi ei sefydlu mewn gwirionedd, trwy eich derbyniad o'r cymmod, yn awr y mae eich deugain niwrnod cyn eich esgyniad iddi hi. Yn awr, nid ydych chwi mwyach o'r byd, er eich bod ynddo: nid yw eich trysor na'ch calon yno mwy. Nid ydych mwyach yn byw ynddo, fel rhai genedigol; eithr yn ymdaith trwyddo, fel dyeithriaid, yn dyfod i fynu

o'r anialwch, ac yn pwyso ar eu hanwylyd, Can. viii. 5.

Yn ddiweddaf, os oes genych hawl gadwedigol yn marwolaeth Crist, yr ydych wedi marw gydag ef i'r ddeddf hefyd, Gal. 2. 19, 20. "Yr wyf fi trwy y ddeddf wedi marw i'r ddeddf. Mi a groeshoeliwyd gydâ Christ." Fe ddarfu i'n Harglwydd Iesu gymmeryd ein natur ni, i foddloni y ddeddf yn hyny; yr oedd holl ystod ei fywyd yn ystod o ufudd-dod iddi hi, am fywyd a iachawdwriaeth i ni; ac efe a ddyoddefodd, i'w boddloni hi yn yr hyn o'r natur hyny oedd ganddi i ofyn, am hyny. Mewn gair, fe'i ganwyd ef i'r ddeddf, efe a fu byw i'r ddeddf, efe a fu farw i'r ddeddf; sef, i ryddhau'r cyfrifion a hi, ac i'w boddloni hi yn gyflawn, ac i gael bywyd a iachawdwriaeth i ni. "Fe'i gwnaethwyd ef dan y ddeddf, fel y prynai y rhai oedd dan y ddeddf," Gal. iv. 4, 5. A phan un waith y syrthiodd hi arno ef, nis gadawodd ddirgeisio ganddo ef, hyd oni chafodd hi y ffyrling eithaf, ac yntef yn gyflawn rydd oddiwrthi hi, megis wedi marw iddi, Rhuf. vii. 4. Yn arwydd o'r hyn, efe a gododd yr ysgrif-rwym, ac a'i dileodd hi, ie, efe a'i rhwygodd hi yn ddarnau, ac a'i "hoeliodd hi wrth y groes," Col. ii. 14. Yn awr, fe ddaeth Crist yn farw i'r ddeddf, gan farw iddi yn ei farwolaeth ar y groes: fel na ddarfu i santeiddrwydd a chyfiawnder y dyn Crist byth mwy redeg yn yr un rhedfa ag yr oedd ef yn rhedeg o'r blaen, (sef o'r groth i'w fedd:) hyny yw, ni bu iddo mwy, ac nis bydd iddo byth mwy, fod yn ufudd-dod yn cael ei gyflawni i'r ddeddf am fywyd a iachawdwriaeth; gan fod y rhai hyn wedi eu cyfan-gwbl-ennill a'u sicrhau, trwy yr ufudd-dod a roddodd efe iddi hi o'r groth i'r bedd. *Ac felly chwithau, fy mrodyr*, os ydych yn eiddo ef, *ydych wedi meirw i'r ddeddf trwy*

*gorph Crist*, yr hwn a fu farw iddi ar y groes, Rhuf. vii. 4. Megis nas byddwch yn ddynion penrydd yn eich bywyd a'ch ymarweddiad, trwy eich bod wedi marw i bechod a'r byd gydâ Christ; felly nis byddwch yn ddynion deddfol ychwaith, yn eich bywyd a'ch ymarweddiad, gan eich bod yn yr un modd wedi marw gydâg ef i'r ddeddf, megis y mae hi yn rheol y cyfammod gweithredoedd. Fe red eich hufudd-dod mewn ffordd wahanol i'r hyn yr oedd ef yn rhedeg cyn eich undeb a Christ, sef yn ffordd yr efengyl. Chwi a wasanaethwch mewn newydd-deb ysbryd, mewn ffydd a chariad. Fe fydd gwg Tad trugarog yn ddychryn i chwi, i'ch brawychu chwi oddiwrth bechod; fe wna cariad a diolchgarwch eich cynhyrfu chwi i ufudd-dod. Fe fydd gofidio ysbryd y Gwaredwr yn ffynnon o dristwch i chwi: ac fe fydd ei waed cymmodol a'i gyfiawnder perffaith ef yn ffynhonell o'ch holl gysuron gerbron yr Arglwydd; ac ni bydd eich gweithredoedd da chwi ond ffrydiau yn tarddu o hyny, (megis y maent yn profi eich hawl achubol yn y rhai hyny) ac yn dderbyniol trwyddo ef, ac yn gogoneddu Duw eich achubwr. Ni bydd i chwi barhau i wasanaethu yn hender y llythyren, megis o'r blaen; ar yr hwn amser yr oedd y ddeddf yn ffynhonell i'r holl ufudd-dod yr oeddech chwi yn ei gyflawni: ofn poenau uffern am eich pechodau, a gobaith am ddedwyddwch y nef yn wobr am eich dyledswyddau, oedd y pwysau oedd yn peri i chwi fyned; ac er eu heithaf hwynt yr oeddech yn sefyll yn fynych; yr oedd eich tristwch oddiwrth eich gweithredoedd drwg yn tarddu, oddiwrth effaith gynhyrfiol y gyfraith yn unig; a'ch cysur oddiwrth eich gweithredoedd da, oddiwrth yr un effeithiad: gan eich bod yn fyw i'r ddeddf, ac yn farw i Grist. Rhuf. vii. 6. "Eithr yn awr y rhyddhawyd ni oddiwrth y ddeddf,

wedi ein meirw i'r peth y'n hattelid; fel y gwasanaethem mewn newydd-deb ysbryd, ac nid yn hender y llythyren." Os ydych yn pwyso trwy ffydd, yn hollol ar gyfiawnder Crist, santeiddrwydd ei natur ef, cyfiawnder ei fywyd ef, a'i foddlonrwydd ef dros bechod, pa fodd y mae yn bossibl nad yw yn rhaid eich bod wedi marw i'r ddeddf? canys nid yw y ddeddf o ffydd, Gal. iii. 12. Eithr os ydych yn cyflawni eich ufudddod am fywyd a iachawdwriaeth, gan edrych am dderbyniad gydâ Duw er mwyn eich gweithredoedd, yr ydych yn myned mewn ffordd uniawngyrchol wrthwyneb i ffordd ffydd, ac un ai yn gwrthod gwaith Crist, yn boddloni y ddeddf, yn gyfan-gwbl, neu yn cyfrif anmherffeithrwydd yn ei waith ef yn talu yr ysgrif-rwym. A "chwi a aethoch yn ddifudd oddiwrth Grist, y rhai ydych yn ymgyfiawnhau yn y ddeddf: chwi a syrthiahoch ymaith oddiwrth ras," Gal. v. 4.

Hyd yma am y rhan gyntaf o'r cyfammod; sef, y rhan ammodol.

*Yr ail ran o'r cyfammod; sef, y rhan addewidiol o hono.*

Y mae y'mhob cyfammod, pa un bynag ai cyfammod cyfaddas neu un anghyfaddas a fyddo ef, addewid. Ac mewn cyfammod cyfaddas, y mae y rhan addewidiol yn cyfatteb i'r rhan ammodol o hono; yn rhwymedigaeth, yr hyn y mae y blaid gyfammodol, i'r hwn y mae yr ammod yn cael ei chyflawni, yn dyfod dani, am ryw gymmwynas i gael ei rhoddi, trwy rinwedd y cyflawniad o'r ammod. Hyn yw yr addewid o gyfammod cyfaddas, y rhwymiad arno ef yr hwn sydd yn ei wneuthur ef, os cyflawna y blaid sydd yn ammodi ag ef ei ran. Yn mhob achos o'r fath, lle y mae y peth yn gyfreithlon ac yn bosibl, y mae yn rhwymo mewn pwnc o wirionedd a

ffyddlondeb, trwy rinwedd cyfammod: mewn rhai achosion y mae yn rhwymo hefyd mewn pwnc o daledigol gyfiawnder; sef, lle y mae yr ammod a gyflawnir yn gyfaddas gydwerth i'r gymmwynas a addawyd.

Y mae y cyfammod gras, yr hwn a wnaethwyd rhwng Duw a Christ, megis pen a chynddrychiolwr o'i hâd ysprydol, yn gyfammod cyfaddas. Ac ynddo ef y mae rhan addewidiol, yn cyfatteb i'r rhan ammodol sydd wedi ei eglure eisoes: a rhan Duw o'r cyfammod ydyw, megis yr oedd y llall yn rhan y Cyfryngwr. Fe rwymodd Duw ei hun i wneuthur y cymmwynasau yn sicr, y rhai y darfu iddo trwy hyny ymddarostwng i'w rhoddi, ar yr ystyriaeth o'r cyflawniad o'r ammod. Ac yn gymmaint a bod yr ammod a gyflawnwyd gan Grist, yn y modd manylaf yn haeddu y cymmwynasau a addawyd, y mae yr addewidion yn rhwymedig ac yn ddiysgog, nid yn unig o ran gwirionedd a ffyddlondeb, ond hefyd o ran cyfiawnder Duw.

Fe ymddengys o ba bwys a chynnwysiad yw y rhan addewidiol o'r cyfammod, oddiwrth yr ystyriaethau canlynol:

1. Y mae y cyfammod yn cael ei enw oddiwrth yr rhan hyn o hono, gan gael ei alw yn *gyfammodau yr addewid*, Eph. ii. 12. Cyfammodau, oherwydd, er nad yw o hyd ynddo ei hun ond un cyfammod; etto, oddiar ei gyhoeddiad y'mharadwys, fe a'i hadnewyddwyd ef yn aml; megis i Abraham, i Jacob, i'r Israeliaid yn yr anialwch, ac i Dafydd: a phob tro yr oedd ef yn cael ei adnewyddu, yr oedd yn cael ei adnewyddu mewn addewid. Yr oedd gan y cyfammod cyntaf addewid o fywyd, etto nid yw yn cael ei alw yn gyfammod yr addewid: eithr i'r gwrthwyneb, y mae y gyfraith, neu y cyfammod hwnw yn y gwrthwyneb i'r addewid; er nad yn ei defnydd

etto yn ei natur, Gal. iii. 18. "Canys os o'r ddeddf y mae yr etifeddiaeth, nid yw mwyach o'r addewid." Canys yr oedd addewid y ddeddf o fywyd yn crogi wrth yr ammod o i weithredoedd gael eu cyflawni gan ddynion eu hunain; pan yn yr ail gyfammod, y mae bywyd a iachawdwriaeth yn cael ei addo yn rhad, er mwyn Crist, heb un golygiad ar un gwaith o'u heiddo hwynt, fel yr ammod o hyny.

2. Y mae y cyfammod yn cael ei ddarlunio i ni gan yr Ysbryd Glân, megis swp o addewidion rhad, o ras a gogoniant i bechaduriaid tlodion, yn yr hyn nis gwneir un son am un ammod, Heb. viii. 10, 11, 12. "Hwn yw y cyfammod—Myfi a ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddwl, ac yn eu calonau yr ysgrifenaf hwynt, a mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant i minnau yn bobl. Ac ni ddysgant bob un ei gymmydog, a phob un ei frawd, gan ddywedyd, Adnebydd yr Arglwydd: oblegid hwynt-hwy oll a'm hadnabyddant i, o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf o honynt. Canys trugarog fyddaf wrth eu anghyfiawnderau, a'u pechodau hwynt a'u hanwireddau ni chofiaf ddim o honynt mwyach." A'r addewidion hyn, y'nghyd a'u hammod, wedi eu cynnyg i, a'u derbyn gan Grist, fel ail Adda, a'r ammod wedi ei chyflawni ganddo ef, y mae y cyfammod yn dyfod yn naturiol yn yr efengyl i gael ei osod o'n blaen ni ynddynt hwy, i gael ei dderbyn a'i gofleidio genym ni, yn, a thrwy Grist, trwy ffydd. Yn y modd hyn, yr addewidion yw y cyfammod, mewn ffordd o enwogrwydd: ie, *cyfammod Duw*, yn yr hyn y darfu iddo ef rwymo ei hun i gyflawni ei ran ef, megis y mae y Cyfryngwr eisoes wedi cyflawni ei ran yntef. Ac yn yr ystyr hyn, yn wir nid yw y cyfammod gras yn ammodol, eithr yn gynnwysedig o addewidion diammodol; hyny yw, addewidion

yn dyfod yn ddiammod trwy yr ammod o hono, sydd wedi ei chyflawni yn weithredol eisoes; eithr wrth ei ystyried ef yn ei gyflawn eangder, ac mewn golyiad ar Grist, y mae y cyfammod, a'r holl addewidion perthynol iddo, mewn modd priodol a manol yn ammmodol.

3. Y mae addewidion y cyfammod yn bwrcas gwaed Crist; y cynnyrch sydd yn dyfod oddiwrth ei waith ef yn cyflawni pob cyfiawnder yn ei enedigaeth, ei fywyd, a'i farwolaeth. Megis y daeth y felldith trwy anhaeddiant Adda, felly y mae yr addewidion trwy haeddiant cyfiawnder Crist; hwynt-hwy yw y testament newydd yn ei waed ef, 1 Cor. xi, 25. O'r addewid o fara a dwfr (Esa. xxxiii. 16.) hyd yr addewid o eistedd-le gydâg ef ar ei orseddfainc (Dat. iii. 21) y maent oll yn bwrcas ei ufudd-dod haeddol ef, ie, hyd angeu. Yn gyfiawn y maent yn cael eu galw yn "addewidion mawr iawn a gwerthfawr," 2 Ped. i. 4. megis yn werth ei waed ef. O ba annrhaethadwy bwys a chynnwysiad y rhaid eu bod, gan iddynt gostio y fath bris rhwng y Tad a'i Fab ei hun!

4. Y mae bwriad a dyben mawr y cyfammod yn cael ei gyflawni, yn y cyflawniad o'r rhan addewidiol o hono; a hyny yw, gogoniant Duw, a iachawdwriaeth pechaduriaid. Y mae y mawr ogoniant i Dduw, a'r gras i bechaduriaid, sydd yn tarddu i fynu oddiwrth yr oll o'r cyfammod, yn cyd-gyfarfod a'u gilydd yma, sef, yn y cyflawniad o'r addewidion, megis y mae yr holl afonydd yn cyd-gyfarfod yn y môr. Yr addewidion oedd y pethau mawr oedd mewn golwg gan y pleidiau ymgyfammodol, pan y darfu iddynt fyned mewn cyfammod: lle iddnyt hwy oedd y Tad yn ei geisio, trwy ei gynnygiad o'r cyfammod; a thyma y peth oedd y Mab yn bwriadu ei bwrcasu, trwy ei waith yn cyflawni yr

ammod. Ammod y cyfammod yw sylfaen yr addewidion; yr addewidion yw y goruchadeilad gogoneddus sydd yn cael ei adeiladu ar y sylfaen werthfawr hòno.

Y mae y gweinyddiad o'r cyfammod yn wasanaethgar i'r cyflawniad o'r addewidion. Fe gyflawnwyd ammod y cyfammod ar y ddaear, mewn yspaid oddiamgylch tair blynedd ar ddeg ar hugain: y mae yr addewidion wedi bod yn cael eu cyflawni fwy na phum mil o flyneddoedd ar y ddaear, ac a fyddant yn cael eu cyflawni yn y nef trwy oesoedd tragywyddoldeb.

5. Y mae dedwyddwch a chysur yr holl etholedigion, dros amser a thragywyddoldeb, yn ymddibynu ar addewidion y cyfammod. Pa beth sydd yn cadw personau yr etholedigion annychweledig rhag marw yn y cyflwr hwnw, ac felly disgyn i uffern, ond addewid y cyfammod? Pa beth sydd yn peri i ras eu gorddiwes hwynt, pan y maent yn ffoi oddiwrtho ef, ond yr addewid? Pa beth sydd yn diogelu gras ynddynt hwy, megis gwreichionen o dân y'nghanol y môr, heb ei diffodd, ond yr addewid? A pha beth yw eu diogelwch a'u cysur yn wyneb angeu, ond yr un addewid, 2 Sam. xxiii. 5.

6. Y mae gogoniant y dyn Crist, megis Cyfryngwr, yn ymddibynu ar addewid y cyfammod. Hyn oedd y gwystl, yn y grediniaeth o'r hwn y bu efe byw ar y ddaear yr yspaid o dair blynedd ar ddeg ar hugain, mewn cyflwr pur dlawd, ac yn y diwedd a fu farw o farwolaeth warthus, Psal. xxii. 4. "Ein tadau a obeithiasant ynot: gobeithiasant, a gwaredaist hwynt." Fe dalodd bris rhyddhad pechaduriaid, tra yr oedd etto lawer o'r rhai prynedig heb eu geni, nagê, nid ydynt hyd yma; ac fe ddarfu i lawer o honynt drochi eu dwylaw yn ei waed ef: eithr efe a orphwysodd ar addewid y cyfammod. Efe a'i

dadleuodd hi, pan yr oedd ef bron a myned i mewn i donau chwyddedig angeu, lle yr oedd iddo ef gael ei lyncu i fynu megis Jonah, Ioan xvii. 5. "Yr awr hon, O Dad, gogonedda di fyfi gydâ thi dy hun." Ac yn y grediniaeth o'r cyflawniad o'r addewid, efe a gwblhaodd ei gyflawniad o'r ammod: oblegid y llawenydd a osodwyd ger ei fron ef yn yr addewid, *efe a ddyoddefodd y groes*, gan ddiystyru gwradwydd, Heb. xii. 2.

Yn ddiweddaf, fe dyngodd Duw y byddai iddo gyflawni addewid y cyfammod, Psal. lxxxix. 3. "Gwnaethum ammod a'm hetholedig, tyngais i'm gwas Dafydd." Y mae yr apostol yn dywedyd wrthym, a "Duw, yn ewyllysio yn helaethach ddangos i etifeddion yr addewid ddianwadalwch ei gyngor, a gyfryngodd trwy lw," Heb. vi. 17. nis gwna dyn tyner dyngu y bydd iddo gyflawni addewid, ond mewn mater o bwys. O ba anarhaethadwy bwys a chynnwysiad, gan hyny, y rhaid fod addewid y cyfammod, yr hon y darfu i Dduw y gwirionedd ei chadarnhau hi trwy lw?

Yn awr, i'r dyben i egluro y rhan hyn o'r cyfammod, ni a gawn, Yn I. Ystyried yr addewidion yn gyffredinol; ac yn II. Cymmeryd golwg neillduol arnynt.

*Am yr Addewidion yn gyffredinol.*

O ran yr addewidion yn gyffredinol, y mae dau beth i chwilio iddynt: I. Beth yw eu natur gyffredinol hwynt; ac yn II. I bwy y maent yn cael eu gwneuthur.

I. O ran natur gyffredinol yr addewidion; wrth ystyried y pleidiau, ar ba rai y mae addewidion y cyfammod gras yn cael eu cyfeiriol, a'u diatreg effaith, y maent yn ymddangos i fod o ddwy natur gyffredinol.

1. Y mae rhai o honynt a'u heffaith gyfeiriol a diatreg a'r Grist ei hun, pen y cyfammod; megis yr addewid o gynnorthwy yn ei waith, a'r addew-

id o enw uwchlaw pob enw. Felly yn y cyfammod cyntaf, yr oedd addewidion, y rhai oedd i gael eu heffaith yn gyfeiriol ac yn ddigyfrwng ar Adda ei hun, ac nid oeddent yn edrych ond yn anghyfeiriol ac yn gyfryngol ar ei hiliogaeth ef, y cyfryw o honynt, o'r hyn lleiaf, ag a fyddai byw ar ol y perffaith gyflawniad o ammod y cyfammod hwnw; sef, yr addewid o fywyd naturiol i gael ei estyn mewn egni a chysur, ac o fywyd ysbrydol i gael ei estyn mewn hawddgarwch a chymdeithas â Duw, tra y parhâi yr yrfa o'i brofedigol ufudddod ef.

2. Y mae rhai o honynt a'u heffaith gyfeiriol a diatreg ar hâd ysbrydol Crist, yn gynnwysedig gydag ef yn y cyfammod; megis yr addewid o adenedigaeth, o galon newydd, ac o lanhad oddiwrth halogedigaeth pechod. Felly y'nghyfammod yr Adda cyntaf, yr oedd yr addewid o fywyd yn cynnwys yr addewid o genedliad a genedigaeth santaidd ei hâd naturiol ef: mewn perthynas i'r hyn, ni fuasai yr addewid yn ei heffaith yn gyfeiriol a diatreg ar Adda, eithr ar ei hâd ef.

II. Y peth nesaf i'w ystyried yw, i bwy y gwnaethwyd hwynt. Ac ni a allwn gymmeryd y pwnc hwn i fynu mewn dau beth.

1. Yr addewidion o'r fath gyntaf, sef, y rhai oedd yn cael eu heffaith gyfeiriol a diatreg ar berson Crist, a wnaethwyd i Grist ei hun. Nis gellir gosod un amheuaeth am hyn. Ac fe'u gwnaethwyd hwynt iddo ef fel pen y cyfammod, yr ail Adda, y cynddrychiolwr o'i hâd. Y mae hyn yn ymddangos oddiwrth ein testun, yn yr hwn y mae ef yn cael ei alw yr *etholedig*, y pen etholedig, a chynddrychiolwr yr etholedigaeth, Dafydd, gwas Duw: yn yr hon sefyllfa y torwyd ymaith, neu y gwnaethwyd y cyfammod, iddo ef gan y Tad. Y mae yn eglur, fod yr holl addewidion o gynnorthwy iddo ef yn ei waith, ac o'i wobr ganlynol,

wedi eu gwneuthur iddo ef, mewn golwg ar ei gyflawniad ef o'r ammod: ac wrth hyny, gan iddo ef gyflawni yr ammod, fel pen y cyfammod, yr ail Adda, a chynddrychiolwr ei hâd, fe wnaethwyd yr addewidion iddo ef yn y sefyllfa hòno.

Fe wnaethwyd yr addewidion o'r fath hyn, gan hyny, i Grist yn unig. A hyny oedd y neillduol anrhydedd a osodwyd ar ben y cyfammod, yn y rhan addewidiol; megis yr oedd ei neillduol lwyth ef i gyflawni y rhan ammodol o hono. Felly y mae ganddo yr enw yr hwn sydd goruwch pob enw, ac y mae wedi ei eneinnio ag olew llawenydd yn fwy na'i gyfeillion. Yn yr etholedigaeth, o'r hon y mae ef yn ben, y mae yn dysgleirio uwchlaw y lleill, megis y mae yr haul yn ei ddysgleirdeb canol-ddydd yn llewyrchu uwchlaw y ser gwreichionaidd. Efe yw y Benjamin wrth fwrdd Duw gyda'i frodyr, yr hwn y mae ei saig o addewidion yn y cyfammod yn fwy o bum rhan nâ seigiau yr un o honynt oll; y Joseph, yr hwn a neillduwyd oddiwrth ei frodyr, yn nghyflawniad yr ammod o'r cyfammod, ac y mae rhan ddeu-ddyblyg ganddo ef yn nhir yr addewid, wedi ei rhoddi iddo, megis y cyntaf-anedig y'mhlith brodyr lawer.

Er hyn oll, megis y mae anrhydedd a llwyddiant y pen yn adlamu i'r aelodau, y mae eu hawl hwynt, mewn golygiad ar eu hundeb a'u cymundeb, yn hawl gyssylltiedig; felly y mae y gogoniant a'r anrhydedd a sefydlwyd ar Grist, trwy addewid, yn ffynhonell o ras a gogoniant i'w aelodau ef, yn drysor yn eu cyfoethogi, eu coron a'u gogoniant hwy. Efe yw y pen aur hwnw, sydd yn rhoddi godidawgrwydd ar y corff; ac ni all yr ennaint a dywelltir ar y pen, lai na myned i lawr hyd at odre y gwisgoedd. Ac oddiyma y mae, 1. Y llef ddidor o weddi gan yr holl gymdeithas o ffyddloniaid, am y cyflawniad o'r

addewidion a wnaethwyd i'r Cyfryngwr, Psal. lxxii. 15. "Gweddiant hefyd drosto ef yn wastad." Y mae yn eglur fod y Psalm hòno yn perthyn i'r *Messiah*. Eithr gweddi yn wastad dros Grist! Pa fodd y gall hyny fod? Paham, ni phaid y llef hòno mewn gweddi y'mhlith y ffyddloniaid, hyd ddiwedd y byd, *Deled dy deyrnas*, Mat. vi. 10. Hi a ddechreuodd gyda gwaith Adda yn cofleidio yr addewid trwy ffydd; ac a ddygwyd y'mlaen o hyd, dros amser yr Hen Destament: ac yn awr y mae hi wedi ei seinio yn eglwys y Testament Newydd er ys mwy nag un cant ar bymtheg o flyneddoedd, ac nis derfydd hyd gyflawniad pob peth. 2. Oddiyma hefyd y mae y llawen floedd o fawl gan yr un gymdeithas, am y cyflawniad o'r addewedion i'r Cyfryngwr. Pa bryd bynag yr ymddangoso fod unrhyw gyflawniad o'r fath yn cael ei wneuthur, y mae ef yn ddefnydd llawenydd i'r eglwys; a pha fwyaf a ymddangoso o hono, mwyaf y mae y llawenydd yn cynnyddu. Yn y modd hyn y mae yr eglwys yn cael cân, ar y cyflawniad o'r addewid o gasglu y cenedloedd ato ef, Esa. xii. 1. O'i fyddygoliaeth ef ar anghrist, Dat. xx. 1. O alwad yr Iuddewon, adn. 6. A phan, wedi y delo y diwedd, y byddo i'r holl addewidion a wnaethwyd iddo ef gael eu cyflawni, fe weinydda hyny iddynt dragywyddol gân o fawl.

Yn ail, y mae yr addewidion o'r fath arall, sef y rhai y mae eu heffaith gyfeiriol a diatreg ar yr etholedigion, wedi eu gwneuthur i Grist yn gyntaf, ac iddynt hwythau yn ail: yn gyntaf, i'r Pen; yna, i'r aelodau trwyddo ef.

1. Y mae yr addewidion sydd a'u heffaith diatreg ar yr etholedigion, wedi eu gwneuthur i Grist yn ddigyfrwng, yn wreiddiol, ac yn benaf. Fe ddarfu i Dduw, yn y cyfammod, addo gras a gogoniant, y cwbl a berthyn i fywyd a duwioldeb,

i'r gymdeithas ddetholedig o ddynol-ryw: eithr fe wnaethwyd yr addewid o'r rhai hyn oll, y'mlaenaf ac yn benaf, i Grist eu pen hwynt; fel y mae ganddo ef, nid yn unig hawl yn yr addewidion hyn, ond y brif hawl ynddynt. Y mae hyn yn ymddangos oddiwrth amryw addysgiad o air Duw.

(1.) Y mae yr apostol yn tystiolaethu, fod yr addewidion wedi eu gwneuthur i'r hâd, yr hwn yw Crist, Gal. iii. 16. A'r addewidion y mae ef yn dywedyd am danynt, yw yr addewid o fendith yr Yspryd, adn. 14. O'r etifeddiaeth, adn. 18. Yr addewidion a dderbynir trwy ffydd, adn. 14. Y mae hyd y nod y rhai hyn, wedi eu gwneuthur i Grist, pen y corff. Y mae hyn yn cael ei gadarnhau trwy yr ymadroddion hyny sydd yn dangos fod cyfammod Duw wedi ei wneuthur â Christ, ac ar yr un amser yn ei egluro ef trwy addewid o ddedwyddwch i'w hâd ef, Psal. lxxxix. 3. gydâ'r 4. adn. 28. a'r 29. adn. 35. a'r 36. A pha beth sydd yn fwy naturiol na gwneuthur addewid i'r tad er cymmwynas i'r plant?

(2.) Fe wnaethwyd ein Harglwydd Iesu yn *etifedd pob peth*, Heb. i. 2. Trwy rinwedd addewid y cyfammod, "Minnau a'i gwnaf yntau yn gyn-fab," Psal. lxxxix. 27. Yn awr os yw Crist, fel ail Adda, yn etifedd pob peth, trwy addewid ei Dad, y mae yr addewidion o bob peth wedi eu gwneuthur iddo ef; ac yn ganlynol y mae yr addewid o fywyd tragywyddol, sydd yn cynnwys pob dedwyddwch i'w bobl ef, wedi eu gwneuthur iddo ef, yn y lle blaenaf. Felly Crist yw yr etifedd blaenaf a phenaf, a hwythau yn etifeddion o'r ail radd, yn a thrwyddo ef. Oddiymà, mewn golwg ar addewid fawr y cyfammod, *Myfi a fyddaf yn Dduw iddynt hwy*, y mae ein Hiachawdwr yn llafaru yr ymadrodd anwylaidd hyny, "Yr wyf yn dyrchafu at fy Nhad i a'ch Tad chwithau, a'm Duw

i, a'ch Duw chwithau," Ioan xx. 17. Cymharwch Rhuf. viii. 17. "Ac os plant, etifeddion hefyd; sef etifeddion i Dduw, a chyd-etifeddion â Christ."

(3.) Megis yn y cyfammod gweithredoedd, y darfu i Dduw addo bywyd i hâd naturiol Adda, ar yr ammod o'i ufudd-dod perffaith ef; yr hyn sydd yn eglur oddiwrth ddyfodiad y farwolaeth arnynt hwy trwy ei anufudd-dod ef: felly, yn y cyfammod gras, efe a addawodd fywyd i hâd ysbrydol Crist, ar ammod ei ufudd-dod ef: "Oblegid megis yn Adda y mae pawb yn meirw, felly hefyd yn Nghrist y bywheir pawb," 1 Cor. xv. 22. Eithr fe wnaethwyd yr addewid hyny am fywyd i hâd naturiol Adda, yn wreiddiol i Adda ei hun, tra hyd hyny nad oedd neb o honynt hwy mewn bod; ac yr oeddent hwy i gyfranogi o hono yn unig trwyddo ef, i'r hwn y gwnaethwyd ef fel eu cynddrychiolwr hwynt. Gan hyny, fe wnaethwyd yr addewid o fywyd i hâd ysbrydol Crist, yn benaf iddo ef ei hun; ac iddynt hwy, yn unig yn a thrwyddo ef. Yn gyfattebol i hyn fe ddywedir wrthym, fod yr addewid o fywyd tragywyddol, ar yr hon y mae gobaith credinwyr yn cael ei hadeiladu, wedi ei rhoddi cyn dechreu y byd, Tit. i. 2. Ac i bwy y gallasai hi y pryd hyny gael ei rhoddi, yn wreiddiol ac yn ddigyfrwng, ond i Grist pen y cyfammod.

Yn ddiweddaf, Y mae yr addewidion hyn yn cynnwys rhan o'r wobr a wnawd drosodd, yn y cyfammod, i Iesu Grist, "Yr hwn yn lle y llawenydd a osodwyd iddo, a ddyoddefodd y groes," Heb. xii. 2. Rhan fawr o'r hwn lawenydd sydd yn hyn; *Efe a wel ei had—llafur ei enaid,* Esay liii. 10, 11. Yr oedd yr addewidion hyn oll yn werth ei waed iddo ef; yn bwrcas ei ufudd-dod a'i farwolaeth ef; am hyny yn cael eu galw *y Testament Newydd yn ei waed ef.* I bwy y gallasai y wobr gael ei haddo yn benaf, ond iddo ef, yr hwn a

gyflawnodd yr ammod, ac a weithiodd y gwaith? Iddo ef gan hyny yr oedd hi o ddyled, sef, trwy rinwedd yr addewid, yr hon a'i gwnaeth hi yn ddyledus iddo ef a'r ei gyflawniad ef o'i ammod. Y mae bendithion y cyfammod sydd yn dyfod i'r etholedigion, yn sicr, i gael eu hystyried megis gwobr i Grist, yn gystal a rhad rodd iddynt hwy. Ac wrth eu hystyried hwy yn y cyntaf o'r golygiadau hyn, nid oes dim mwy gwrthuni mewn bod addewid o galon newydd yn cael ei gwneuthur i Grist, nag y sydd mewn bod meddyg yn gwneuthur addewid i'r tad, i wella ei blentyn cloff ef, wedi iddo ef roddi sicrwydd iddo am ei dal; yn yr hwn achos, nis gall y plentyn edrych ar yr addewid wedi ei gwneuthur iddo ef ei hun mewn un modd, ond yn ail-raddol trwy ei dad, yr hwn oedd y blaid ymgyfammodol.

Y mae hwn yn bwnc sydd o bwys, ac yn haeddu ystyriaeth, ac yn gwasanaethu i addysgu ein meddyliau a chyfarwyddo ein hymarferiad: o herwydd y mae y casgliadau canlynol yn naturiol oddiwrtho ef.

[1.] Nid yw addewidion y cyfammod wedi eu gwneuthur i weithredoedd da y credadyn; ond i weithredoedd Crist, ac i'r credadyn gweithgar ynddo ef. I'r credadyn y maent yn hollol rad, ac nid o ddyled; ac am hyny nid ydynt wedi eu gwneuthur i'w weithredoedd ef: canys "i'r neb sydd yn gweithio, ni chyfrifir y gwobr o ras, ond o ddyled, Rhuf. iv. 4. Y mae, mewn gwirionedd, drefniad gweddus o'r addewidion, trwy yr hyn y mae yr addewid o burdeb calon, i'r etholedigion, yn myned o flaen yr addewid o iddynt gael gweled Duw yn y nef; yr addewid o ddarostyngiad o flaen dyrchafiad: oddiar yr hyn y cyhoeddir, yn ngweinyddiad y cyfammod, y bydd i'r *rhai pur o galon weled Duw;* y bydd i'r *rhai a ddarostyngo ei hunain gael eu derchafu:* ac yn y modd hyn y mae gan

"dduwioldeb addewid o'r bywyd sydd yr awr hon, ac o'r hwn a fydd;" 1 Tim. iv. 8. Eithr y sylfaen i'r holl addewidion hyn, pa un bynag ai am bethau sydd yn ddyledswydd arnom ni, neu bethau sydd yn rhagorfraint i ni, yr hyn y maent oll yn ymddibynu arno, fel eu priodol ammod, yw ufudd-dod Crist yn unig; y maent oll wedi eu gwneuthur iddo ef, yn y lle blaenaf, y diweddaf yn gystal a'r cyntaf.

[2.] Y mae y gras cyntaf, trwy yr hwn y mae yr etholedigion meirw yn cael eu bywhau, a'u dwyn i gredu ac uno â Christ, yn cael ei drosglwyddo iddynt, yn rhedfa yr addewid, yn gystal a'r gras sydd yn canlyn ffydd; Ezec. xxxvi. 27. "Rhoddaf hefyd fy ysbryd o'ch mewn." Oherwydd, er nad ydynt, yn eu cyflwr anianol, yn abl i ddadleu yr addewid yn ffyddiog; ac nid ydynt hwy, ar yr amser hwnw, yn feddiannol ar hawl achubol bersonol yn yr addewid; etto y mae yr Arglwydd Iesu yn adnabod y rhai sydd eiddo ef, ac i bwy y gwnaethwyd yr addewidion iddo ef; a chan fod y gweinyddiad o'r cyfammod ganddo yn ei law ei hun, nis gall fethu mynu gweled y cyflawniad o honynt yn yr amser gosodedig. Er hyny nis gallant hwy, a hwythau yn farw mewn camweddau a phechodau, olygu eu lles eu hunain; etto nis gwna efe, a chanddo y brif hawl yn yr addewidion, esgeuluso ei achos ei hun; eithr efe a fyn eu gweled hwynt yn cael eu cyflawni yn fanwl.

[3.] Y ffordd i fod yn bersonol ac yn gadwedigol feddiannol ar yr addewidion, dros amser a thragywyddoldeb, yw i ymuno â Christ trwy ffydd: o herwydd y mae holl addewidion Duw ynddo ef yn ïe, ac ynddo ef yn amen. 2 Cor. i. 20. A chwennychech chwi wybod, pa fodd y mae i'r addewidion mawr iawn a gwerthfawr ddyfod yn eiddo i chwi: o herwydd, y maent oll yn eiddo

ef; y maent oll wedi eu gwneuthur iddo ef. Cymmerwch ef, ac y maent oll yn eiddo i chwi: yn yr un modd ag y mae gan yr hwn a briodo yr etifeddes, hawl i'w gwaddol hi, a'r oll o'r rhwymarwyddion *(bills)* a'r ysgrif-rwymau *(bonds)* yn yr hyn y byddo un rhan o hono yn gynnwysedig.

[4.] Pan, trwy farweidd-dra a thywyllwch ysbryd, yn cyfodi oddiwrth euogrwydd nychlyd y gydwybod, neu rhyw beth arall, y mae eich ffydd yn yr addewid wedi methu, a chwithau yn methu ymaflyd ynddi drachefn, o herwydd nas gallwch weled dim daioni ynoch; cofleidiwch Grist drachefn, a'r addewid ynddo ef, er yr holl bechadurusrwydd yr ydych yn ei weled, a'i deimlo ynoch, yr hyn sydd yn eich gwneuthur yn eithaf annheilwng yn eich golwg eich hunain; ac na sefwch draw oddiwrth yr addewid, er dim, hyd oni byddoch mewn gwell cyflwr; eithr dywedwch gydâ'r Psalmydd, "Pethau anwir a'm gorchfygasant: ein camweddau ni, ti a'u glanhei," Psal. lxv. 3. O herwydd, megis nad y daioni ynoch chwi oedd sylfaen yr addewid, felly nid yw y drwg sydd ynoch yn ei dymchwelyd hi, ac yn ei gwneuthur yn ddieffaith. Y mae sylfaen yr addewid yn sefyll yn ddiogel yn Nghrist, pa gyfnewidiadau bynag sydd yn cymmeryd lle yn ystad, ac agwedd ysbryd y crediniwr. Y mae wedi ei sicrhau fel y lleuad, Psal. lxxxix. 37. yr hon sydd bob amser yr un ynddi ei hun, er yr amrywiaeth o'i hymddangosiadau hi i'n golwg ni, un tymhor yn cynhyddu, a'r llall yn lleihau.

[5.] Y ffordd gywir i ddadleu yr addewidion, yw dyfod at Dduw yn enw Crist, a dadleu y cyflawniad o honynt i ni er ei fwyn ef. Ioan xvi. 23. "Pa beth bynnag a ofynoch i'r Tad yn fy enw i, efe a'i rhydd i chwi." Mat. xxi. 22. "Gan gredu, chwi a'i derbyniwch." Dan. ix. 17. "O ein Duw—llewyrcha dy wyneb ar dy gyssegr an-

rheithiedig, er mwyn yr ARGLWYDD." Gofyn yn enw Crist, gan gredu, yw i un gyflwyno ei hun ger bron yr Arglwydd, megis aelod o Grist, wedi ymuno âg ef, ac yn glynu wrtho, fel un yn cael ei gynnyg i ni yn yr efengyl; ac, er mwyn y Pen, yn attolygu rhydd gymmwynas yr addewid, ac yn pwyso ar ei haeddiant ef am y derbyniad o honi. Hyn yw cynnwysiad yr ymadrodd hwnw, Gen. xii. 3. megis y mae yn perthyn i Grist, "A holl deuluoedd y ddaear," sef y rhai a fendithir, "a fendithir ynot ti;" neu yn hytrach, megis y mae y gair gwreiddiol yn arwyddo, *a wneir i benlinio*, sef i dderbyn y fendith: y mae yr oll sydd yn cael eu bendithio, yn cael eu bendithio y'Nghrist, Eph. i. 3. cymharwch Phil. i. 10. Hon yw y drefn yn yr hon y mae Duw yn cyfranu cymmwynasau ei addewid, 2 Sam. vii. 21. "Er mwyn dy air di, ac yn ol dy feddwl dy hun, y gwnaethost yr holl fawredd hyn;" cymharwch 1 Cron. xvii. 19. "Er mwyn dy was, ac yn ol dy feddwl dy hun, y gwnaethost yr holl fawredd hyn;" hyny yw, er mwyn dy air, dy was, y Messiah; oherwydd, gan fod y ddau le hyn yn adroddiad o'r unrhyw beth, nid oes un gwahaniaeth rhyngddynt yn yr iaith wreiddiol, oddieithr lle mae gan y naill *dy air*, a'r llall *dy was*.

[6.] Fe all credinwyr wrth hyn, gryfhau eu ffydd am y cyflawniad o'r addewidion iddynt hwy. Pa mor hawdd bynag yw i rai gynnal eu gobaith rhyfygus am drugaredd Duw i fywyd tragywyddol, tra, (heb weled natur erchyll eu pechod) y maent yn adeiladu eu gobaith ar ryw beth ynddynt eu hunain, yn hytrach nag ar rydd addewid y cyfammod yn Nghrist Iesu; etto nid rhwystr bach i gredu sydd yn cyfodi, i'r duwiolion difrifol, oddiwrth yr olwg gyssylltiedig ar fawredd a gwerthfawrogrwydd yr addewid, a mawredd eu pechodau a'u hanneilyngdod. Oddiyma y

maent yn barod i ddywedyd, A all byth y fath addewid gael ei gwneuthur i'r fath un ag wyf fi? Ac mewn gwirionedd, nid oes dim ynddynt hwy a all ddarparu atteb i'r fath ddadl ddifrifol. Eithr dyma atteb boddhaol iddo ef: y mae yr addewidion oll, wedi eu gwneuthur i Grist yn benaf, sef iddo ef yr hwn a'i pwrcasodd hwynt â'i waed; ac y mae cyfiawnder yn gofyn am iddynt gael eu cyflawni iddo ef: ac yn y cyflawniad o honynt iddo ef, y mae yn rhaid iddynt o angenrheidrwydd gael eu heffaith ar ei holl aelodau ef, i'r rhai, o herwydd eu bod ynddynt eu hunain yn annheilwng, y prynodd efe hwynt. Felly fe all yr enaid ddywedyd, Pa mor annheilwng bynag ydwyf fi, etto y mae efe yn deilwng, sef yr hwn y dylai Duw wneuthur hyn iddo.

2. Y mae yr addewidion sydd yn cael eu heffaith ddiatreg ar yr etholedigon, wedi eu gwneuthur iddynt hwy yn ail-raddol, yn a thrwy Grist. Megis y mae ganddo ef yr hawl flaenorol a sylfaenol ynddynt, felly y mae ganddynt hwy thau hawl darddedig ynddynt trwyddo ef. Yr oedd, er tragywyddoldeb, undeb cyfreithiol rhwng Crist a hwynt yn y cyfammod; trwy yr hyn y daeth eu dyled hwy yn eiddo iddo ef, a'r addewidion a wnaethwyd iddo ef yn eiddo iddynt hwy. Megis, ar un law, "yr Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd," Esa. liii. 6. felly ar y llaw arall, fe "roddwyd gras i ni yn Nghrist Iesu, cyn dechreu y byd," 2 Tim. i. 9. Mewn amser y mae gwirioneddol undeb cyfriniol yn cymmeryd lle rhyngddo ef a hwynt, ar ei waith ef yn cymmeryd meddiant arnynt hwy trwy ei Ysbryd, ac yn preswylio ynddynt trwy ffydd. Y mae y blaenaf yn gosod eu hawl hwynt i'r addewidion, yn Nghrist y pen; y mae y diweddaf yn eu hurddo hwynt â hawl iddynt yn eu personau eu hunain, trwyddo ef, megis gwir aelodau o'i

gorff ef. Mewn golygiad ar y naill, fe ddywedir fod bywyd tragywyddol wedi ei addo i ni, a gras wedi ei roddi i ni cyn dechreu y byd, Tit. i. 2. 2 Tim. i. 6. Mewn golygiad ar y llall, fe elwir etedinwyr yn "etifeddion yr addewid," Heb. vi. 17. ac "yn gyd-gyfranogion o'i addewid ef yn Nghrist," Eph. iii. 6. Ac y mae yr addewid yn cael ei rhoddi i'r rhai sydd yn credu, Gal. iii. 22.

Yn y modd hyn y mae yn ymddangos, fod yr addewidion wedi eu gwneuthur i hâd ysbrydol Crist, yn gystal ag iddo ef ei hun; er mai iddo ef yn ddechreuol fel y cynddrychiolwr, ar yr hwn y gosodwyd y cyflawniad o'r ammod; ac nid iddynt hwy ond yn ail-raddol fel rhai yn cael eu cynddrychioli, y rhai oedd i dderbyn y budd. Ac oddiyma y mae anhawsder arall yn cyfodi, sef, bod yr addewidion, mewn dull addas a manwl o lafaru, yn ammodol i Grist, eithr y maent yn ddiammod ac yn rhydd i ni; yn yr un modd ag y buasai yr addewid o fywyd yn y cyfammod cyntaf, yr hon oedd yn ammodol i Adda, yn ddiammodol i'w hâd naturiol ef, pe buasid un waith yn cyflawni yr ammod. Yn y modd hyn y mae haeddiant Crist, a rhydd ras Duw, wedi cyfarfod â'u gilydd yn y cyfammod; y mae cyfiawnder wedi ei gyflawn foddloni, ac y mae gras yn rhedeg yn rhydd yn y rhedfa hòno; y mae yr addewidion wedi eu pwrcasu i gyd am eu llawn bris, eithr ni thalwyd un rhan o'r pris hwnw genym ni. Oddi yma yr ymddengys, ein bod ni yn derbyn gwerthfawr ffydd, y'nghyd â phob cymmwynasau cadwedigol ereill, "trwy gyfiawnder ein Duw ni, a'n Hachubwr Iesu Grist," fel y briodol ammod o honynt oll, 2 Ped. i. 1. Ac ar yr un pryd, y mae Duw yn dileu ein camweddau *er ei fwyn ei hun*, Esa. xliii. 25. Ac y mae pob peth a berthyn i fywyd a duwioldeb yn cael ei *roddi* (neu yn rhoddedig) i ni, 2 Ped. i. 3.

*Am yr addewidion neillduol i Grist.*

Wedi llafaru am yr addewidion yn gyffredinol, yr ydym yn awr yn dyfod i gymmeryd golwg mwy neillduol arnynt; ac yn gyntaf, am yr addewidion sydd yn neillduol i Grist ei hun. Y mae y rhai hyn yn lliosog, eithr fe ellir eu trefnu hwynt oll i dri phen; sef, yr addewid o gynnorthwy, o dderbyniad, ac o wobr ei waith.

Yn gyntaf, Fe gafodd ein Harglwydd Iesu addewid o gynnorthwy yn ei waith, Psal. lxxxix. 21. *A'm braich a'i nertha ef.* Wedi cymmeryd arno waith ein iachawdwriaeth, fe gafodd addewid ei Dad, pan y byddai iddo ef fyned ar y gwaith, y byddai i'w Dad ei gryfhau a'i gynnal ef yn ei waith yn myned trwyddo, Esa. xlii. 1—4. Ac yn y grediniaeth o'r cynnorthwy cyfammodol hwn, efe a aeth trwy y rhan galetaf o hono, Esa. l. 6, 7. "Fy nghorff a roddais i'r curwyr, a'm cernau i'r rhai a dynai y blew: ni chuddiais fy wyneb oddiwrth waradwydd a phoeredd. Oherwydd yr Arglwydd Ddaw a'm cynhorth." Yn gyfattebol i hyn, yn ei dristwch yn yr ardd, "angel o'r nef a ymddangosodd iddo, yn ei nerthu ef," Luc xxii. 43. Ac yr oedd y cynnorthwy addewidiol hwn yn arwydd o hyfrydwch ei Dad yn, a'i hoffder o'r gwaith, tra yr oedd ef yn cael ei wneuthur.

Yn ail, Efe a gafodd yr addewid o i'w waith fod yn dderbyniol, pan un waith y cyflawnai efe ef: o'r derbyniad o hono, megis llawn gyflawniad a chwblhad o ammod y cyfammod, yn rhoddi hawl iddo ef i'r wobr addewedig. Oddiyma, mewn golwg ar y sicr gyflawniad ganddo o'i waith, fe gyhoeddwyd y derbyniad o hono, ar ei fedydd ef, gan lef o'r nef yn dywedyd, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd," Mat. iii. 17. Ac fe adnewyddwyd hyn ar ei weddnewidiad, ychydig cyn ei ddyoddefaint ef. Mat. xvii.

5. I'r addewid hon o dderbyniad, y perthyn yr addewid o'i adgyfodiad, a'i gyfiawnhad ef.

1. Yr addewid o'i adgyfodiad ef oddiwrth y meirw, Psal. xvi. 10. "Ni adewi fy enaid yn uffern; ac ni oddefi i'th Sanct weled llygredigaeth;" yr hyn a esponir am adgyfodiad Crist, Act. ii. 31. Fe ddarfu i Dduw, trwy adgyfodi Crist oddiwrth y meirw, gyhoeddi mewn effeith, ei dderbyniad o'r gwaith a gyflawnwyd ganddo ef. Fe dystiolaethodd hyn, fod y ddyled wedi ei chyflawn dalu, a'i fod ef yr hwn a'i gosododd ef y'ngharchar y bedd, yn ei ddwyn ef allan o hono drachefn; gan anfon ei angel i dreiglo'r maen oddiwrth ddrws y bedd, ac felly ei ryddhau ef yn gyfreithlon. Canys fel hyn y cytunwyd yn y cyfammod, mai yn yr un modd ag y byddai i Grist roddi ei hun i farwolaeth, er boddlonrwydd i gyfiawnder, felly y byddai i'r Tad ei ddwyn ef drachefn oddiwrth y meirw, mewn golygiad ar y boddlonrwydd hwnw a wnaed trwy ei waed ef. Heb. xiii. 20.

2. Yr addewid o gyfiawnhad, Esa. l. 8. "Agos yw yr hwn a'm cyfiawnha." Y cyflawniad o'r hyn y sylwir arno gan yr apostol, 1 Tim. iii. 16. "Duw a ymddangosodd yn y cnawd, a gyfiawnhawyd yn yr Ysbryd." Gan nad oedd gan ein Harglwydd Iesu Grist ddim pechod personol i'w faddeu, nid oedd arno eisieu un cyfiawnhad personol: eithr fel yr oedd ef yn Fachnïydd yr etholedigion, a'u hanwireddau hwynt oll wedi eu rhoddi arno ef, fe drefnwyd yn y cyfammod, ac yn gyfiawn, ond i'r gwaith a gymmerodd efe arno gael ei gyflawni, y byddai iddo ef gael swyddol gyfiawnhad. Wedi iddo dalu'r dyled, efe a gafodd trwy addewid, gyflawn a helaeth ryddhad o hono, o dan law a sêl y nef. Ac yn hyn y mae mawr ddiogelwch ei bobl ef, ar gyfer gofyniad y gyfraith am foddlonrwydd oddiwrthynt hwy.

Yn ddiweddaf, Efe a gafodd yr addewid o wobr ogoneddus, i gael ei anrhegu iddo ef fel priodol haeddiant y gwaith a wnaeth. Fe osodwyd *llawenydd ger ei fron ef*, yn yr addewid, am yr hwn y *dyoddefodd y groes, gan ddiystyru gwaradwydd*, Heb. xii. 2. Ni weithiwyd erioed y fath waith a hwn, ac ni addawyd erioed y fath wobr a hon. Y mae addewid bum-plyg yn perthyn iddi:

1. Yr addewid o fath newydd o hawl yn Nuw, fel ei Dduw a'i Dad, Psal. lxxxix. 26. "Efe a lefa arnaf, Ti yw fy Nhad, fy NUW." Yr oedd ein Harglwydd Iesu Grist yn meddu Duw yn Dad trwy dragywyddol enedigaeth-fraint; eithr fe gafodd perthynas newydd ei gosod rhwng Duw a Christ, fel yr ail Adda, pen y cyfammod, yn cael ei sylfaenu ar yr ymrwymiad i, a'r cyflawniad o ammod y cyfammod; trwy yr hyn y daeth ef yn etifedd o Dduw fel ei etifeddiaeth; yn ol hyny gan yr apostol, Rhuf. viii. 17. "Etifeddion i Dduw, a chyd-etifeddion â Christ;" sef, gydâ Christ fel y prif etifedd, oherwydd, trwy ei ufudd-dod hyd angeu, efe a bwrcasodd y mwynhad o Dduw, fel Duw a Thad. Nid wyf yn dywedyd iddo bwrcasu hyn iddo ei hun; nid oedd angen ar y dyn Crist i wneuthur hyny, yn gymmaint a'i fod yn meddu hyny, trwy rinwedd undeb personol y ddwy natur; eithr efe a'i pwrcasodd ef i bechaduriaid, y rhai oedd wedi colli pob hawl gadwedigol yn Nuw; eithr nis gallasent fod yn ddedwydd hebddi hi.

2. Yr addewid o ddyrchafiad gogoneddus, i fod yn was urddol y Tad, cyn-was y nef, megis gweinyddwr mawr y cyfammod, Esa. lii. 13. "Wele, fy ngwas a lwydda; efe a godir, a ddyrchefir, ac a fydd uchel iawn." Pen. xlix. 8. "Mi a'th roddaf yn gyfammod y bobl." Yn ei waith yn cyflawni ammod y cyfammod, *efe a gymmerodd arno agwedd* caeth-was, ac a'i *darostyngodd ei*

*hun, ie i angeu'r groes: o herwydd paham, Duw,* yn ol addewid y cyfammod, *a'i tra-dyrchafodd yntau* i brif wasanaeth y nef, *ac a roddes iddo enw,* fel gweinyddwr mawr y cyfammod, "yr hwn sydd goruwch pob enw; fel yn enw Iesu y plygai pob glin," Phil. ii. 7, 8, 9, 10. Fe fydd i natur, dirfawr helaethder, a mawr ganlyniad, yr addewid hon, gael eu dad-blygu pan y byddom yn dyfod i ymdrin â gweinyddiad y cyfammod (trwy rinwedd y rhoddiad o hono), yn llaw y Cyfryngwr.

3. Yr addewid o had a hiliogaeth, yn lliosog fel ser y nef. Esa. liii. 10. *Efe a wel ei had.* Gen. xv. 5. "Felly y bydd dy had di;" sef "cynnifer a ser y nef mewn lliaws," Heb. xi. 12. sef yr holl dorf o etholedigion, yr oll o honynt i fyw trwy ei farwolaeth ef, ac i ddwyn ei ddelw ef, megis y mae y plentyn yn dwyn delw ei dad. Fe gydsyniodd i oddef loeson marwolaeth; eithr yr oeddent yn wewyr esgor, i ffrwythloni mewn genedigaeth liosog. Efe oedd *y gronyn gwenith* oedd i *syrthio i'r ddaear a marw:* eithr fe ddarfu i'r addewid sicrhau iddo ef, ar yr ammod o hyny, y byddai iddo "ddwyn ffrwyth lawer," Ioan xii. 24. Mewn canlyniad i'r cyflawniad o'r addewid hon y mae y parhad o bregethu yr efengyl o oes i oes; yn gymmaint, fel trwy rinwedd hyny, "y bydd i gynnifer ag a ordeiniwyd i fywyd tragywyddol gredu."

4. Yr addewid o iddo gael etifeddu pob peth, fel prif etifedd, Psal. lxxxix. 27. "Minneu a'i gwnaf ynteu yn gyn-fab." Felly y mae yr apostol yn dywedyd, "Duw a'i gwnaeth ef yn etifedd pob peth," Heb. i. 2. Ac y mae Crist ei hun yn myngegu ei fod ef wedi ei osod mewn meddiant yn gyfattebol, Mat. xi. 27. "Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad." Fel hyn y mae ganddo, trwy addewid, drysorau cyfaddas tuag at gynnal yr urddas a roddwyd arno. Eithr am hyn hefyd y bydd mwy yn ol hyn.

Yn ddiweddaf, Yr addewid o fuddygoliaeth a llywodraeth ar ei holl elynion ef a'i bobl, Psal. lxxxix. 23. "Ac mi a goethaf ei elynion o'i flaen." Yr oedd ef i ymladd â Satan, pechod, ac angeu, yn y cweryl am yr arfaethiad o etifedd i ogoniant; ac mor gynted ag y darfu iddo ymosod yn eu herbyn, fe ddarfu i'r byd drwg o ddynion ddechreu rhyfel yn ei erbyn ef hefyd: eithr yr oedd ganddo ef addewid ei Dad am fuddygoliaeth a llywodraeth arnynt oll: fel pa fodd bynag y byddai iddo ef gael y cwymp cyntaf, a marw yn y frwydr, etto y byddai ei farwolaeth ef yn ddinystr ar lywodraeth Satan, gallu pechod, a rhwymau angeu, ar ei bobl ef; ac y byddai i bwy bynag a âi yn nghyd âg attegu yr hawl adfeiliedig hòno, syrthio dano ef. Psal. cx. 1. "Dywedodd yr Arglwydd wrth fy Arglwydd, Eistedd ar fy neheulaw, hyd oni osodwyf dy elynion yn fainc i'th draed."

Ac hyd yma am yr addewid dri-phlyg neillduol i Grist ei hun yn y cyfammod.

AM YR ADDEWID O FYWYD TRAGYWYDDOL I'R ETHOLEDIGION YN CAEL EI HYSTYRIED MEWN 3 YSPAID.

Y mae yr addewidion cyffredinol i'r etholedigion, a wnaethwyd yn a thrwy Grist iddynt hwy yn y cyfammod, yn lliosog hefyd. Nid wyf yn meddwl gwneuthur cyfrifiad pennodol o honynt, er fod pob un o honynt yn fwy gwerthfawr nâ'r aur o Ophir; eithr fe fyddai yn fuddiol i gristnogion difrifol, fel y byddont yn darllen trwy yr Hen Destament a'r Newydd, eu nodi hwynt yn eu Biblau, yn drysor ysbrydol iddynt, a'r fath amrywiaeth yn ystor ynddynt, ag a weinydda yr hyn sydd yn cyfatteb i bob cyflwr y gallont fod ynddo. Y maent oll yn gynnwysedig yn, ac fe ellir eu trefnu i'r un hon, sef, yr addewid o *fywyd tragywyddol:* i egluro hyn, gellir golygu y ddau destun canlynol, Tit. i. 2. "I obaith bywyd tragywyddol, yr hon a addawodd y digelwyddog Dduw cyn-

dechreu y byd." 1 Ioan ii. 25. "A hon yw yr addewid a addawodd efe i ni, sef bywyd tragywyddol."

Yn yr hyn eiriau, y mae tri pheth at ein dyben yn cynnyg eu hunain i sylwi arnynt. 1. Addewid helaethfawr a chynnwysfawr y cyfammod gras, a swm yr holl addewidion i bechaduriaid, ynddi; sef, yr addewid o *dragywyddol fywyd:* hyny yw dull y geiriau yn y iaith wreiddiol: y mae y cyfammod yn gyfammod bywyd, wedi ei fwriadu i adferyd pechaduriaid meirw i fywyd; ac felly y mae ei addewid ef yn addewid o *fywyd,* ac y mae y bywyd hwnw yn dragywyddol. 2. Dyddnodiad yr addewid hon, *Cyn dechreu y byd.* Tra nad oedd etto amser, a sylfaen y byd heb ei gosod, y gweaethwyd hi, a bywyd tragywyddol yn hyny yn cael ei sicrhau i'r etholedigion. 3. Y pleidiau oedd yn perthyn iddi. Gwneuthurwr yr addewid, oedd y digelwyddog Dduw: addewid yr hwn, gan hyny, sydd raid o angenrheidrwydd, gael ei dwyn i ben. A thrwy neillduol ymfoddloniad, y Tad oedd ef; efe a'i gwnaeth hi, Ioan ii. 24, 25. "Chwithau hefyd a gewch aros yn y Mab ac yn y Tad. A hon yw yr addewid a addawodd efe i ni," &c. Y blaid y gwnaethwyd hi iddynt yw, 1. Ac yn benaf, Iesu Grist, yr ail Adda, pen y cyfammod; o herwydd nid oes un anghenrheidrwydd i encilio oddiwrth briodol arwyddocâd y gair a ddefnyddir yma, yr hwn yw *addo,* i arwyddocâd anghymhwys, sef *bwriadu:* gan fod yr addewidion wedi eu gwneuthur i Grist, Gal. iii. 16. Ac yn ddiau yr oedd ef yn bod cyn dechreu y byd, ac yn ganlynol, yn addas y pryd hwnw, i dderbyn yr addewid. 2. Yr etholedigion ynddo ef. Efe a addawodd i ni, sef, ni yn gyfreithiol ynddo ef cyn dechreu y byd; hyny yw, yr etholedigion, y rhai sydd yn dadleu ac yn cymhwyso'yr addewid, a wnawd y pryd hwnw, iddynt eu hunain, pan y byddont yn credu.

Ac oddiyma y mae y gwirionedd hyn yn cyfodi, hyny yw, mai yr addewid helaethfawr a chynhwysfawr i had ysbrydol Crist, yn y cyfammod, yw yr addewid o *dragywyddol fywyd,* wedi ei gwneuthur er tragywyddoldeb i Grist, ac iddynt hwythau ynddo ef.

I agor yr addewid hon o'r cyfammod, ni a'i golygwn hi, I. Yn fwy cyffredinol, II. Yn fwy pennodol.

1. Yn y cyffredin, y mae hi yn llafaru dau beth, sef, pob gwir ddedwyddwch, a'r tragywyddolrwydd o'r dedwyddwch hwnw.

Yn gyntaf, y mae yn cynnwys, fel y defnydd o hono, bob gwir ddedwyddwch: o herwydd y mae y gair bywyd yn cael ei ddefnyddio am ddedwyddwch yn yr iaith santaidd, 1 Sam. xxv. 6. felly Ioan iv. 50. Ac y mae yn cael ei ddefnyddio felly yn iaith pob un o'r ddau gyfammod, Rhuf. x. 5. "Y dyn a wnel y pethau hyny, a fydd *byw* (hyny yw, a fydd dedwydd) trwyddynt." Hab. ii. 4. "Y cyfiawn a fydd *byw* (hyny yw, a fydd dedwydd) trwy ei ffydd." Y mae gan y damnedig yn uffern fywyd a bâr byth; eithr yn iaith yr Ysbryd Glan, nid ydynt yn gweled bywyd, y maent wedi eu difeddu o fywyd tragywyddol; o herwydd nid yw eu bywyd yn fywyd dedwydd, ond yn un gresynol. Y mae yn amlwg, oddiwrth ysgrifeniadau y proffwydi a'r apostolion, fod y farwolaeth a fygythwyd yn y cyfammod gweithredoedd, yn cynnwys pob truenusrwydd yn y byd hwn, ac yn y byd a ddaw; ac o ganlyniad, fod y bywyd a addawyd ynddo, yn cynnwys pob dedwyddwch, mewn amser a thragywyddoldeb. O herwydd, yn gymmaint gan hyny, a bod y bywyd a addawyd yn y cyfammod gras, wedi ei arfaethu i adferu y golled a gafodd pechaduriaid trwy y cwymp, y mae yn rhaid iddo o angenrheidrwydd, fyned yn ei gynnwysderau, mor ëang a'r

farwolaeth y daethant hwy trwy hyny yn rhwymedig iddi. Oddiwrth yr hyn oll yr ydym yn penderfynu i Dduw, trwy addaw bywyd i'r etholedigion yn Nghrist, addaw iddynt hwy bob dedwyddwch, yr hyn yn ganlynol sydd yn myned dan yr enw *bywyd* yn unig, yn yr ysgrythyr, 1 Ioan v. 12. "Yr hwn y mae y Mab ganddo, y mae y *bywyd* ganddo." Ac yn y modd hyn y mae bywyd y cyfammod, yn ymestyn i ddedwyddwch yr holl ddyn, ac i'r oll o'r moddion trwy y rhai y mae ef yn cael ei ddwyn i ben.

1. Y mae bywyd y cyfammod yn ymestyn at ddedwyddwch yr holl ddyn, enaid a chorff; y diwedaf yn gystal a'r cyntaf. Ac am hyny, oddiwrth y cyfammod y mae ein Harglwydd yn profi adgyfodiad y corff yn erbyn y Saduceaid, Mat. xxii. 31, 32. Er mai yr enaid yw y rhan benaf, nid yw yr unig rhan y darparwyd a'r ei chyfer ynddo. Trwy rinwedd y cyfammod, y mae y *corff i'r Arglwydd, a'r Arglwydd i'r corff*, yn gystal ag y mae yr enaid iddo ef, ac yntau i'r enaid, 1 Cor. vi. 13. Megis y cafodd y corff ei ran yn y farwolaeth a fygythwyd yn y cyfammod cyntaf, felly y mae ganddo, ac efe a gaiff ei ran yn y bywyd a addawyd yn yr ail. Gan i'r fath bris a gwaed y Gwaredwr gael ei dalu am gyrff ei bobl ef, yn ei waith ef yn cyflawni ammod y cyfammod, y mae yn rhaid i'r bywyd a sicrhawyd yn yr addewid, gael ei estyn i'w cyrff, yn gystal ag i'w heneidiau hwynt.

2. Y mae ef yn cyrhaedd i'r holl foddion, trwy y rhai y mae y dedwyddwch hwn i gael ei ddwyn oddiamgylch, yn ei ddechreuad, ei fynediad yn mlaen, a'i berffeithiad. "Pa un bynag ai Paul, ai Apolos, ai Cephas, ai y byd, ai bywyd, ai angeu, ai pethau presenol, ai pethau i ddyfod; y mae pob peth yn eiddo chwi," 1 Cor. iii. 22. O herwydd y mae sicrhau y gymmwynas ei hun,

trwy addewid, yn sicrhau yr oll o'r moddion, trwy y rhai y mae hi i gael ei dwyn oddiamgylch. O ganlyniad y mae y cyfammod yn disgyn, hyd y nod at y bara a'r dwfr, sydd yn angenrheidiol i gynnal y bywyd naturiol, Esa. xxxiii. 16.

Yn ail, y mae yr addewid yn cynnwys y tragywyddolrwydd o'r dedwyddwch hwnw. Nid yn unig bywyd a addewir, ond bywyd tragywyddol, *bywyd dros byth mwy*, Psal. cxxxiii. 3. yr hwn ni ddiddymir o'r mynyd y rhoddir ef, trwy oesoedd amser a thragywyddoldeb. Nid yw bywyd tragywyddol, yn ol iaith yr ysgrythyr, yn cael ei gyfyngu i'r sefyllfa o ogoniant hyn y nef. Eithr y mae y bywyd sydd yn cael ei gyfranu i bechadur, yn y mynyd cyntaf o'i undeb ef â Christ, yn dragywyddol; y bywyd tragywyddol a addawyd yn y cyfammod ydyw, yn ol yr ysgrythyr, Ioan iii. 36. "Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo fywyd tragywyddol." Edrych pen. v. 24. 1 Ioan v. 11, 12. Oddiyma, sef, oddiwrth addewid y cyfammod, "y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd," megis y mae yr apostol yn profi parhad y saint, Heb. x. 38. Prawf eglur o fod parhad mewn gras, yn ein sefyllfa hon o anmherffeithrwydd, yn rhan o'r bywyd tragywyddol a addawyd i ni yn y cyfammod, yn gystal a dedwyddwch y nef. Ac yn y modd hyn y mae bywyd y cyfammod yn cyrhaedd i'r bywyd *sydd yr awrhon*, yn gystal a'r *hwn a fydd*, 1 Tim. iv. 8.

1. Y mae yn cyrhaedd i'r "bywyd sydd yr awrhon," yn y byd hwn. A hwn yw y bywyd tragywyddol hwnw, yr hwn sydd wedi dechreu yn yr amrywiol ranau o hono, mewn perthynas i'r corff a'r enaid. Os gwna dynion fesur dedwyddwch, wrth wên a gŵg rhagluniaeth cyffredinol, yn ddiau, nis gellir cyfrif un dyn yn ddedwydd cyn marw; eithr y mae yr oraclau santaidd yn ein dysgu ni i gymmeryd ein mesurau o'r peth mewn ffordd

arall, sef, trwy yr hawl gadwedigol bersonol o'r cyfammod; ac y mae yn cyhoeddi y bobl hyny yn wynfydedig, ag "y mae yr Arglwydd yn Dduw iddynt," pa beth bynag a fyddo rhyngddynt hwy a'r bedd, Psal. cxliv. 15. Felly y mae dedwyddwch yn addewedig yn y cyfammod, i'r enaid a'r corff, i ddechreu yn y bywyd hwn; dedwyddwch y ffordd i'r deyrnas; iachawdwriaeth wedi ei dechreu yn ddedwydd, ac i gael ei chario y'mlaen yn ddi-ball.

2. Y mae yn cyrhaedd i'r "bywyd a fydd" mewn byd arall. A'r un bywyd tragywyddol yw hwnw, wedi ei gyflawni a'i berffeithio, ar yr enaid a'r corff, yn y nef. Yno y mae addewid y cyfammod yn cael ei hollol gyflawniad, yr ernes o'r hon y mae credinwyr yn ei dderbyn yn awr; yr hyn yw, nid yn unig rhan o'r peth, eithr y sicrwydd o'r cwbl.

II. I'r dyben o gael golwg mwy neillduol ar yr addewid o fywyd tragywyddol i'r etholedigion, fe ellir ei ystyried ef mewn tri yspaid: 1. Cyn eu hundeb â Christ; 2. O'u hundeb â Christ hyd angeu; ac yn 3ydd, O angeu, trwy dragywyddoldeb. Am weithrediad yr addewid, yn yr yspaid cyntaf a'r diweddaf, o'r rhai'n, nis gwyddom ond ychydig; ac yn wir nis gwyddom lawer am dani yn yr yspaid ganol; o herwydd y mae hi fel afon yn tarddu o ffynnon guddiedig, ac yn rhedeg y'mhell dan y ddaear, yna yn codi i wyneb y ddaear, ac yn rhedeg yn y blaen hyd onid elo hi i'r cefnfor. Y ffynnon guddiedig, o'r hon y mae yr addewid o fywyd tragywyddol i'r etholedigion yn cyfodi, yw rhydd ras Duw, "yr hwn a roddwyd i ni yn Nghrist Iesu, cyn dechreu'r byd," 2 Tim. i. 9. Y mae hi yn rhedeg dan y ddaear, yn anamlwg, hyd y nod i'r personau eu hunain, hyd fynyd eu hundeb â Christ, yn eu galwad effeithiol; yno y mae hi yn cyfodi, megis i wyneb y ddaear, ac yn rhed-

eg yn y blaen yn ffrydiau gweledig, hyd angeu; ac o hyny allan, y mae hi yn rhedeg yn gyflawn, ac yn amlwg, trwy oesoedd tragywyddoldeb. Ni a gymmerwn olwg ar linellau mawrion yr addewid, yn y tri gwahanol yspaid hyn o'i heiddo hi:

YSPAID I.—*Cyn undeb a Christ.*

Os gwnawn ystyried yr addewid o fywyd tragywyddol i'r etholedigion, megis y mae hi yn sefyll yn y cyfammod, ac megis y mae hi yn cael ei chyflawni iddynt hwy, ac yn cael ei heffaith arnynt hwy cyn eu hundeb â Christ, ni a allwn ganfod dwy linell fawr ynddi; sef, yr addewid o'u cadwraeth, ac addewid o'r Ysbryd; am yr hyn mewn trefn:

I. Yr addewid o gadwraeth.

Y mae yr addewid o fywyd tragywyddol i'r etholedigion yn y cyfammod, yn cynnwys yr addewid o'u diogelu, hyd y mynyd dedwydd o'u priodas ysbrydol â Iesu Grist, yn yr hon y cânt eu sefydlu mewn cyflwr o ras, Ezec. xvi. 6. "Pan dramwyais heibio it', a'th weled yn ymdrybaeddu yn dy waed, dywedais wrthyt yn dy waed, Bydd fyw." Heb. "Dywedais wrthyt, Bydd fyw yn dy waed;" megis y mae amryw gyfieithadau cymmeradwy yn ei ddarllen ef. Yn yr ymadrodd ardderchog hwn o'r ysgrythyr y dangosir, dan y gyffelybiaeth o faban mewn perygl wedi ei daflu ar wyneb y maes, y cyflwr naturiol, a'r sefyllfa resynol, yn yr hon y cafodd Duw Israel, ac y mae yn cael yr etholedigion oll; y mae y blaenaf yn gysgod o'r diweddaf. Y mae tramwy deublyg heibio i'r esgymmunol hon, ac y mae y rhai hyn yn ddau amser pell iawn oddiwrth eu gilydd, yn ol arwyddiad yr Ysbryd Glân. Y cyntaf, ar y dydd y ganwyd hi, ac y taflwyd hi ar wyneb y maes, adn. 4, 5, 6. Yr olaf, ar ol iddi dyfu, a dyfod mewn oed i briodi; ar yr hwn amser y

priodwyd hi yn weithredol, adn. 7, 8. Y mae y blaenaf yn cyfeirio at yr amser y mae yr etholedigion yn dyfod i'r byd yn eu cyflwr naturiol, nid yn unig fel rhai yn cael eu geni iddo, ond hefyd, fel rhai yn dechreu gweithredu ynddo, fel creaduriaid rhesymol: y diweddaf, at yr amser rhagosodedig yn y bwriad tragywyddol, pan, trwy gyfrwng y gyfraith yn llaw ysbryd caethiwed, y mae eu bronau, megis pe baent yn cael eu llunio trwy argyhoeddiad; ar yr hyn y mae eu priodas ysbrydol â Christ yn sicr-ganlyn. Eithr pa fodd y mae yr un esgymmunol yn cael ei diogelu yn yr amser rhwng y ddau, fel nad yw hi yn trengu yn ei chyflwr gresynol? Paham; er nas gosodwyd un llaw arni, etto fe lafarwyd gair, yr hwn a ddiogelodd ei bywyd hi, mewn cyflwr ag oedd yn naturiol farwol. Ar y tramwy cyntaf heibio iddi, ar y dydd y ganwyd hi, ac y taflwyd hi ar wyneb y maes, fe ddywedodd Duw wrthi, "Yn dy waed bydd fyw:" hyny yw, er dy fod yn gorwedd ar wyneb y maes di amddiffyn, yn dy waed, heb dori na thrin dy fogail, fel, yn ol trefn natur, y rhaid i'th waed ddarfod, a'th ysbrydoedd fethu'n fuan, a'r dydd hwn o'th enedigaeth fod yn ddydd marwolaeth i ti; etto, yr wyf yn dywedyd wrthyt, *bydd fyw:* nis cai farw yn y cyflwr yna, eithr tyfu i fynu ynddo, a chael dy ddiogelu hyd fynyd ddedwydd dy arfaethedig briodas. A thyma'r addewid o gadwedigaeth yr etholedigion yn eu cyflwr naturiol. Ac y mae iddi ddwy gangen fawr: un mewn perthynas i'w bywyd naturiol hwynt; a'r llall mewn perthynas i'w hangen ysbrydol hwynt.

Y gyntaf, yw addewid o barhad eu bywyd naturiol, hyd yr amser y gwnelir hwynt yn gyfranog o'r bywyd sydd yn Iesu Grist. Fe ddywedodd Duw, "Hwy a gânt fyw," er eu bod yn ngwaed eu cyflwr naturiol. Felly nid yw yn

bosibl iddynt farw cyn yr amser hwnw, pa beryglon bynag y dygir hwynt iddo; ïe, pe syrthiai mil wrth eu hochr, a deng mil ar eu deheulaw: oherwydd, trwy addewid y cyfammod, y mae gwiliadwriaeth anweledig oddiamgylch iddynt, i'w hamddiffyn. Trwy rinwedd hyn y maent o hyd, dros yr holl amser y maent yn y cyflwr hwnw, yn cael eu diogelu, pa un bynag ai yn y groth, ai wrth ddyfod allan o honi, neu yn holl beryglon mabandod, mebyd, ieuenctyd, neu pa oedran bynag y cyrhaeddont iddo yn y cyflwr hwnw. Hyn yw'r peth, sydd dros yr holl amser y byddont yn annychweledig, yn eu dwyn yn ol mor aml o byrth angeu; yn eu dychwelyd mewn diogelwch, pan y maent, un ai trwy glefydau, neu ddamweiniau ereill, y tu hwnt i obaith yn eu golwg eu hunain, ac y'ngolwg eu cyfeillion a'r meddygon. Er bod y lleidr etholedig yn cael ei hoelio wrth y groes yn ei gyflwr natur, etto nid oedd gan angeu allu i ddyfod o hyd iddo, yn y modd y gallasai ysgar rhwng ei enaid ef a'i gorff, hyd yr amser yr unwyd ef unwaith â Christ trwy ffydd, ac y gwnaethwyd ef yn gyfranog o fywyd newydd ynddo ef.

Yr ail yw, addewid o gadw y garegfedd oddiarnynt yn eu marwolaeth ysbrydol. Y garegfedd yw y pechod yn erbyn yr Ysbryd Glân, y pechod anfaddeuol; yr hwn, ar bwy bynag y gosodir ef, sydd yn gosod eu cyflwr yn anadferadwy, fel, o hyny allan nas gallant byth gyfodi o farwolaeth ysbrydol i fywyd, Marc iii. 29. "Eithr yr hwn a gablo yn erbyn yr Ysbryd Glân, ni chaiff faddeuant yn dragywydd." Eithr er y gall yr etholedigion, yn eu cyflwr natur; gan eu bod yn farw mewn pechod fel ereill, bydru felly yn eu beddau, trwy lywodraeth a gweithrediad chwantau, fel y byddont yn eithaf ffiaidd y'ngolwg Duw, a phawb o ddynion da; etto, oherwydd addewid y cyfammod,

nid yw yn bosibl i'r garegſedd gael ei gosod arnynt hwy. Y mae gwyliadwriaeth anweledig wedi ei gosod ar eu heneidiau, yn gystal ag ar eu cyrff; ac felly y mae hyn yn cael ei ragflaenu yn anffaeledig, megis y gellir deall oddiwrth yr ymadrodd hwnw o eiddo ein Hiachawdwr, Mat. xxiv. 24. "Hyd oni thwyllant, (pe byddai yn bosibl,) ie, yr etholedigion." Tra y maent yn garcharorion satan, efe a ddichon eu gyru hwynt i radd dirfawr o ddrygioni: felly y gwnaeth ef a Manasseh a Phaul; eithr er mor bell y gyrodd efe hwynt, nis gallodd eu gyru i'r cam hwnw.

A'r addewid hon o gadwriaeth yr etholedigion, megis y mae hi, fel y lleill, wedi ei sylfaenu ar ufudd-dod a marwolaeth Crist, trwy yr hyn y mae bywyd tragywyddol wedi ei bwrcasu iddynt hwy; o ganlyniad, pe buasai y cymmwynasau hyn, yn enwedigol, yn methu, buasent hwy yn cael eu handwyo byth: felly y mae hi yn berthynas i, ac yn debyg o fod wedi ei impio yn yr addewid o gynnorthwy a wnaethwyd i Grist yn y cyfammod; trwy yr hon y diogelwyd cynnaliaeth Ddwyfol iddo ef, dros yr holl amser y byddai pechodau yr etholedigion, a digofaint Duw am hyny, yn gorwedd arno ef. Ac yn y modd hyn, fe ddarparwyd ar gyfer achos y pen, a'r aelodau, yn un, yn y cyfammod.

II. Yr addewid o'r Yspryd.

Y mae yr addewid o fywyd tragywyddol i'r etholedigion, yn cynnwys hefyd yr addewid o i ysbryd y bywyd gael ei gyfranu iddynt hwy, i bob un o honynt hwy, yn mynydun yr amser rhagosodedig yn eu hachos hwynt yn neillduol, yn y tragywyddol gyngor; hyny yw, yr amser nodedig i fod yn amser serchawgrwydd, gwawriad dydd gras iddynt hwy, pa mor hir a thywyll bynag y byddo eu nos hwynt. Fe geir yr addewid hon, yn Esa. xliv. 3, "Tywalltaf fy ysbryd ar dy hâd."

Ezec. xxxvi. 27. "Rhoddaf hefyd fy ysbryd o'ch mewn." Gan fod etholedigion Duw, yn yr un modd ag ereill o ddynolryw, yn farw mewn pechod, trwy y toriad o'r cyfammod cyntaf, nis gallasent gael eu dadebru, ond trwy gyfranu ysbryd y bywyd iddynt hwy: eithr nis gallasent gael yr ysbryd hwnw oddiwrth Dduw heb ei foddloni. O herwydd paham, fe ddarfu i Grist, yn y cyfammod, ymrwymo i gyflawni pob cyfiawnder yn eu henw hwynt, a thrwy hyny brynu yr ysbryd iddynt hwy: ar yr hyn y gwnaethwyd yr addewid o'r ysbryd, y blaenffrwyth o bwrcas Crist; ac a elwir gan hyny yn *addewid y Tad*, mewn ffordd o enwogrwydd, Luc xxiv. 49. Yn arwydd o hyn yr oedd y tywalltiad mawr o'r ysbryd ar esgyniad Crist, Act. ii. pan y darfu iddo ef, fel ein Harch-offeriad mawr ni, ddwyn i mewn waed ei aberth i'r cyssegr santeiddiolaf, nid o waith llaw, Heb. ix. 11, 12. O herwydd, megis yr oedd y tân yr hwn oedd yn enyn yr arogl-darth, ar yr allor aur, allor yr arogl-darth, yn cael ei ddwyn oddiar yr allor bres, allor y poeth-offrwm, yn nghyntedd y Deml; felly y mae yr ysbryd, sydd yn peri i bechaduriaid meirw fyw, yn deillio oddiwrth groes Crist, yr hwn a ddyoddefodd *o'r tu allan i'r porth.*

Yn awr, mewn perthynas i'r addewid o'r Ysbryd, y mae dwy brif gangen; sef, yr addewid o fywyd ysbrydol foesol, a'r addewid o ffydd.

1. Yr addewid o fywyd ysbrydol foesol, trwy rinwedd yr hwn y mae yr enaid, sydd yn foesol farw mewn pechod, yn cael ei gyfodi i fywyd drachefn, trwy ysbryd y bywyd yn cael ei gyfranu iddo o'r nef. Hyn yw y dechreuad, yr unig beth cyntaf o'r bywyd tragywyddol ei hun a addawyd yn y cyfammod. Goleuo y llusern santaidd o fywyd ysbrydol yn yr enaid ydyw, yr hon nis gellir ei diffodd byth mwy, eithr a lysg byth mwy.

Y mae genym yr addewid hon, yn Esa. xxvi. 19. "Dy feirw a fyddant byw:" ac y mae hyn yn perthyn i'r addewid o'r ysbryd, megis yr ymddengys oddiwrth Ezec. xxxvii. 14. "Ac y rhoddwyf fy ysbryd ynoch, ac y byddoch byw."

Yr effaith o hono, yw bywhau yr enaid marw, trwy Ysbryd Crist yn cael ei dderbyn yn oddefol, Eph. ii. 4, 5. "Pan oeddem feirw mewn camweddau, Duw a'n bywhaodd." Y mae hyn yr un peth a'n hadnewyddu trwy alwedigaeth effeithiol, trwy yr hyn y galluogir ni i gofleidio Iesu Grist, fel y crybwyllir yn ein hegwyddor-lith byraf ar y gofyniad hwnw. Ac y mae yn cael ei alw mewn modd addas gan rai duwinyddion, yr adgenedliad cyntaf, yn gytunol â iaith yr ysgrythyr santaidd, Ioan i. 12, 13. "Ond cynnifer ag a'i derbyniasant ef, efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw, sef i'r sawl a gredant yn ei enw ef: y rhai ni aned o waed, nac o ewyllys y cnawd, nac o ewyllys gwr, eithr o Dduw." Y mae pechaduriaid, yn eu cyflwr natur, yn gorwedd yn farw, yn ddifywyd, a diysgog; nis gallant gredu yn Nghrist, nac edifarhau, mwy nag y gall dyn marw lafaru neu gerdded: eithr, trwy rinwedd yr addewid, y mae ysbryd y bywyd oddiwrth Iesu Grist, ar yr amser nodedig, yn myned i'r enaid marw, ac yn ei fywhau ef; fel nad yw ef mwy yn foesol farw, eithr yn fyw, ac yn meddu pwerau ysbrydol newydd yn osodedig ynddo, gan fod y rhai cyntaf wedi eu colli trwy gwymp Adda.

2. Y brif gangen arall o'r addewid o'r Ysbryd, yw yr addewid o ffydd; sef, y byddai i hâd ysbrydol Crist gredu ynddo ef, dyfod ato ef, a'i dderbyn ef trwy ffydd, Psal. cx. 3. "Dy bobl a fyddant ewyllysgar yn nydd dy nerth." A Psal. xxii. 31. *Deuant.* Fe addawodd Duw, y byddai, (oddiar dywalltiad gwaed ei Fab, er boddlon-

rwydd i gyfiawnder,) i *had* helaethlawn darddu o'r ddaear, ar ol y dyfrhad gwerthfawr hwnw, er diwallrwydd i'w enaid ef, Esa. liii. 10. Gan hyny, pwy bynag ni chredo, fe fydd i'r rhai oll a gynddrychiolwyd yn y cyfammod gael eu dwyn yn anffaeledig i gredu, megis y mae ein Harglwydd ei hun, mewn coel o'r addewid hon, yn mynegi, Ioan vi. 37. "Yr hyn oll y mae y Tad yn ei roddi i mi, a ddaw ataf fi." Yn awr, y mae hyn hefyd yn perthyn i'r addewid o'r ysbryd, yr hwn gan hyny a elwir yn ysbryd ffydd, 2 Cor. iv. 13. Megis yn bod y prif achos effeithiol o honi, Zech. xii. 10.

Yr effaith o'r addewid hon yw credu gwirioneddol, yn cael ei weithredu yn yr enaid gan ysbryd y bywyd, yn ddiaros, trwy y bywyd ysbrydol sydd yn cael ei gyfranu iddo gan yr ysbryd, trwy y cyfranogiad o hono ei hun i'r enaid, Ioan v. 25. "Pan glywo y meirw lef Mab Duw;" cymharwch â phen. i. 12, 13. 2 Cor. iv. 13. Megis y mae y pechadur oedd yn ysbrydol farw, yn cael ei fywhau trwy dderbyn Crist yn oddefol; felly ar ol ei fywhau y mae ef yn derbyn Crist yn weithredol. Y mae Crist yn dyfod i'r enaid marw trwy ei Ysbryd: ac felly y mae ef yn cael ei dderbyn yn oddefol; yn yr un modd ag y mae un y byddo gallu ganddo i godi y marw, yn dyfod i dŷ, heb neb ynddo ond y dyn marw; heb neb i agor y drws iddo, neb i'w gymhell ef i ddyfod i mewn, nag i roddi groesaw iddo. Eithr wedi i Grist yn y modd hyn, gael ei dderbyn, neu ddyfod i mewn, y mae yr enaid marw yn cael ei fywhau, ac y mae ef trwy ffydd yn cofleidio Crist; yn yr un modd ag y byddai i adferwr y dyn marw i fywyd, gael ei gofleidio ganddo ef yn ddiaros, a chael ei roesawi ganddo filoedd o o weithiau, am iddo glywed ei lais ef a byw. Pan y darfu i Grist, y'nghroth ei fam, fyned i

mewn i dŷ Zacharias, a hithau gyfarch Elizabeth, mam Ioan Fedyddiwr, fe ddarfu i Ioan y'nghroth ei fam, lamu, megis wrth ddyfodiad y bywyd i mewn: felly y mae yr enaid, mewn credu gwirioneddol, ar ddyfodiad Crist i mewn iddo trwy yr ysbryd. Megis y darfu i Dduw anadlu yn y dyn cyntaf anadl einioes, ac yntau ddyfod yn enaid byw, yr hwn nid oedd o'r blaen ond darn o ddaear yn unig; hyny yw, fe osododd Duw ysbryd, neu enaid, yn ei gorff ef, yr hwn a ddangosodd ei hun yn ddiaros, y'ngwaith y dyn yn anadlu o'i ffroenau; felly y mae Iesu Grist, yn amser serchawgrwydd, yn gosod ei Ysbryd yn yr enaid marw, yr hwn yn ddiaros sydd yn dangos ei hun yn fyw, trwy gredu, derbyn, a chofleidio Crist, gan ei adnabod, a'i ganfod yn ei ragorol ogoniant. Ac yn y modd hyn y mae yr undeb rhwng Crist a'r enaid yn cael ei ddwyn i ben; y mae Crist yn gyntaf yn ymaflyd yn yr enaid trwy ei Ysbryd, ac yno y mae yr enaid, ar ol ymaflyd ynddo a'i fywhau fel hyn, yn ymaflyd yn Nghrist drachefn, yn addewid yr efengyl, trwy ffydd.

Yn awr, y mae yr addewed o'r Ysbryd, yn y ddwy gangen o honi, wedi ei impio yn yr addewid o'r adgyfodiad oddiwrth y meirw, a wnaethwyd i Grist; ac y mae hi wedi ei chyd-wau felly a hi, fel nas gellir eu gwahanu hwynt. Y mae yr addewid o'i adgyfodiad ef, fel yr olew ar ben Aaron, yn rhedeg i lawr i ymylau ei wisgoedd ef, yn yr addewid o fywhau ei aelodau ef hefyd. Y mae yr ysgrythyr yn amlwg iawn yn hyn, Esa. xxvi. 19. "Dy feirw a fyddant byw, fel fy nghorff i yr adgyfodant." Eph. ii. 5. "Ië, pan oeddym feirw mewn camweddau, a'n cyd-fywhaodd ni gydâ Christ." Fe ddaeth ein Harglwydd Iesu, yn y cyfammod tragywyddol, yn ben i gorff marw, sef, y corff o bechaduriaid etholedig, marw mewn pechod; a hyny fel y byddai iddo ei adferyd ef i

fywyd. A chan ymuno yn gyfreithiol â'r corff hwnw, fel trwy hyny y byddai i angeu gael dyfodfa oddiwrtho ato ef mewn amser dyladwy, efe a gafodd yr addewid o'r adgyfodiad, iddo ei hun a'i aelodau, wedi ei gwneuthur iddo ef. Pan y daeth yr amser gosodedig, fe gasglodd angeu y'nghyd ei holl fyddinoedd, ac a wnaeth ymosodiad yr ben y corff, yr hwn yn unig oedd wedi aros yn fyw. Efe a'i gwanodd ef i'w galon ar y groes, ac a'i gosododd ef hefyd i orwedd yn llwch y bedd: ac felly efe a'i cafodd hwynt oll yn farw gydâ'u gilydd, y pen a'r aelodou. Yn y modd hyn fe gyflawnwyd ammod y cyfammod. Yn awr y mae yr addewid yn dyfod yn nesaf, yn ei thro, i gael ei chyflawni; yn enwidigol yr addewid o'r adgyfodiad; sef, ar ol i angeu lwyr-dreulio ei holl alluoedd a'i egni ar y pen, y byddai iddo ef gael ei gyfodi drachefn oddiwrth y meirw: ac, megis y darfu i angeu ymledu o'r aelodau i'r pen, felly hefyd, y byddai i fywyd yn ei dro, ymledu ó'r pen i'r aelodau; *hwynt, fel ei gorff ef, yn cyfodi.* Trwy rinwedd hyn-yma y darfu i'r ysbryd neu yr enaid oedd yn byw y'nghorff Crist, a'r hwn *a roddodd efe i fynu* ar y groes, (Mat. xxvii. 50.) wrth *anadlu* yr anadliad diweddaf, fel y dangosir (Luc xxiii. 46. Gr.) gael ei ddychwelyd drachefn i'w gorff bendigedig ef; ar yr hyn y daeth ef allan o'i fedd. A thrwy rinwedd yr un peth, y mae Ysbryd y bywyd yn dychwelyd i eneidiau meirw yr etholedigion drachefn; ar yr hyn y maent hwy yn byw ac yn credu. Yr oedd amser dychweliad yr ysbryd, i'r pen ac i'r aelodau, wedi ei ragosod yn y cyfammod, yn neillduol, mewn perthynas i'r naill a'r llall: fel megis ag yr oedd yn anmhosibl i gadw Crist yn y bedd ar ol pen y tri diwrnod, felly, yn yr un modd, y mae yn anmhosibl cadw ei etholedigion ef, dan rwymau marwolaeth ysbrydol, ar ol yr amser rhagosodedig i'w gwared

hwynt, Hos. vi. 2. "Efe a'n bywhâ ni ar ol deuddydd, a'r trydydd dydd y cyfyd ni i fynu, a byddwn fyw ger ei fron ef."

Ac yn y modd hyn, y mae yr addewid o fywyd tragywyddol i'r etholedig yn gweithredu, yn yr yspaid tywyll hyn o'u dyddiau; yr hwn yspaid tywyll sydd yn darfod yma. Y mae hi yn ymddangos yn awr, ac yn rhedeg uwchlaw y ddaear byth mwy.

YSPAID II.—*O undeb a Christ, hyd angeu.*

Wrth ystyried yr addewid o fywyd tragywyddol i'r etholedigion, megis y mae hi yn cael ei chyflawni i, ac yn cael ei heffaith arnynt hwy, o'u hundeb â Christ hyd angeu; y llinellau mawrion sydd i'w canfod ynddi, yw yr addewidion, 1. O gyfiawnhad; 2. O berthynas gyfammodol newydd ac achubol a Duw; 3. O santeiddhad; 4. O barhad; ac yn 5. O gymmwynasau tymhorol: am yr hyn mewn trefn.

I. Yr addewid o gyfiawnhad.

Y mae yr addewid o fywyd tragywyddol i'r etholedigion, yn cynnwys yr addewid o i gyfiawnhad gael ei drosglwyddo iddynt hwy, i bob un o honynt hwy, trwy eu huno hwynt â Christ trwy'r ysbryd. Fe geir hyn allan, yn Esa. liii. 11. "Fy ngwas cyfiawn a gyfiawnhâ lawer trwy ei wybodaeth." Pen. xlv. 25. "Yn yr Arglwydd y cyfiawnheir—holl had Israel." Hon yw yr addewid sydd yn blaenori yn yr yspaid hwn: a'r effaith o'r cyflawniad o honi yw, i'r enaid sydd yn gyfreithiol farw dan ddedfryd y gyfraith, neu felldith y cyfammod gweithredoedd toredig, gael ei ddwyn i fyw drachefn yn y canlyniad, "megis y mae yn ysgrifenedig, Y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd," Rhuf. i. 17. A thyma ddechreuad y bywyd hwnw sydd yn cael ei dderbyn oddiwrth Grist trwy ffydd, yr hwn y dywedir amdano, Ioan v. 40.

"Ni fynwch chwi ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd." Pen. vi. 57. "Yr hwn sydd yn fy mwyta i, yntau a fydd byw trwof fi." Y mae bywyd yn cael ei dderbyn o Grist cyn ffydd, trwy yr hwn y galluogir un i gredu, am yr hwn y dywedasom o'r blaen: ac y mae bywyd yn cael ei dderbyn o Grist trwy ffydd, yn ol Ioan xx. 31. "A chan gredu, y caffoch fywyd yn ei enw ef." Ac y mae y diweddaf hwn, yn ol yr ysgrythyr, yn fywyd tragywyddol hefyd, pen. v. 24. "Y neb sydd yn gwrandaw fy ngair i, ac yn credu i'r hwn a'm hanfonodd i, a gaiff fywyd tragywyddol, ac ni ddaw i farn: eithr efe a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd."

Yr oedd etholedigion Duw, yn eu gorweddiad dan y toriad o'r cyfammod cyntaf, yn farw yn ol y gyfraith, megis rhai dan y felldith. Nis gallasent gael eu hadferyd i fywyd yn ol y gyfraith, ond trwy gyflawni cyfiawnder y ddeddf; yr hyn, a hwynt-hwy yn analluog i'w wneuthur drostynt eu hunain, fe ymrwymodd Crist yn y cyfammod i'w wneuthur drostynt hwy: ac oddiar hyny y gwnaethwyd yr addewid o'u cyfiawnhad hwynt. Trwy i'r addewid hon gymmeryd effaith, ar eu gwaith hwynt yn credu, y mae y felldith yn cael ei symud, a hwythau yn cael eu cyfiawnhau yn weithredol ac yn bersonol. Yn y modd hyn y maent yn cael eu hadferyd i fywyd yn ngolwg y gyfraith: yr hwn fywyd o ran ei natur, wedi ei dderbyn trwy ffydd, sydd yn dragywyddol; gan nas gall y felldith, yn ol y cyfammod, ddychwelyd arnynt hwy, dros un yspaid o amser, na hwy na byrach. Esa. liv. 9. "Megis y tyngais nad elai dyfroedd Noah mwy dros y ddaear; felly y tyngais na ddigiwn wrthyt."

Y mae dwy gangen yn perthyn i'r addewid o gyfiawnhad; sef, yr addewid o faddeuant, a'r addewid o dderbyniad.

1. Yr addewid o faddeuant pechod, trwy yr hyn y mae affaith y tragywyddol ddigofaint yn cael ei ddileu, Heb. viii. 12. "A'u pechodau hwynt a'u hanwireddau ni chofiaf ddim o honynt mwyach." Gan i bechodau yr etholedigion, yn y cyfammod tragywyddol, gael eu cyfrif i, a'u gosod ar Grist, yr hwn trwy ddyfod yn gyfreithiol un a hwynt, a gymmerodd eu dyled hwy arno ei hun, ac a ymrwymodd i'w dalu ef: oddiar hyny fe wnaethwyd addewid o faddeuant iddynt hwy, a phob un o honynt hwy. Yn awr mor gynted ag y byddo iddynt hwy gael eu huno yn gyfriniol ac yn wirioneddol ag ef trwy ffydd, trwy gyfrwng yr undeb hwnw y maent yn cael cymmundeb ag ef yn ei gyfiawnder: oddiar yr hyn, y mae y perffaith foddlonrwydd a roddodd ef, yn cael ei gyfrif iddynt hwy; ac ar y cyfrif o hyn yn unig, ac nid un weithred o'u heiddo hwynt, pa beth bynag, y mae yr addewid rydd yn cael ei chyflawni, a'r maddeuant yn cael ei anrhegu arnynt hwy yn wirioneddol, yn ol y cytundeb tragywyddol, Eph. i. 7. "Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau, yn ol cyfoeth ei ras ef."

Yma y mae bywyd oddiwrth y meirw; maddeuant yn cael ei ddodi yn llaw y dyn collfarnedig, i ddiarfogi y gyfraith o'i hawdurdod gollfarnol, ac angeu o'i golyn, megis ato ef; gan beri iddo godi ei ben oddiwrth y cyff, a myned ymaith gydâ bloedd o fawl am drugaredd y Brenin, a haeddiant ei Fab ef. Ac y mae ef yn fywyd tragywyddol: O herwydd y mae ei holl bechodau ef, a fu, y sydd, ac a ddaw, wedi eu maddeu, o ran affaith y tragywyddol lid; y mae maddeuant rheolaidd o'r ddau ryw gyntaf wedi ei roddi, ac addewid o beidio cyfrif y rhai o'r fath ddiweddaf, o ran yr affaith hwnw; y mae hyn wedi ei sicrhau, megis y mae yr apostol yn dangos,

Rhuf. iv. 7, 8. "Dedwydd yw y rhai y maddeuwyd eu hanwireddau, a'r rhai y cuddiwyd eu pechodau. Dedwydd yw y gwr nid yw yr Arglwydd yn cyfrif pechod iddo." Ac ni wna Duw byth alw ei faddeuant yn ol, pen. xi. 29. "Canys diedifarus yw doniau a galwedigaethau Duw."

2. Y gangen arall o'r addewid o gyfiawnhad yw, yr addewid o dderbyniad eu personau, megis yn gyfiawn y'ngolwg Duw, yn ol hyny, Esa. xlii. 21. "Yr Arglwydd sydd foddlawn er mwyn ei gyfiawnder:" cymharwch a Mat. iii. 17. "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd;" ac Eph. i. 6. "Gwnaeth ni yn gymmeradwy yn yr Anwylyd." Nis gall y Duw cyfiawn a santaidd, yr hwn y mae ei farn yn ol gwirionedd, dderbyn pechaduriaid fel rhai cyfiawn, heb fod ganddynt gyfiawnder, ie, cyfiawnder perffaith: nis gall y rhai nad yw yn wirioneddol gyfiawn yn ol y gyfraith, byth gael eu golygu yn gyfiawn, eithr yn rhai anghyfiawn, y'ngolwg ei lygad treiddiol ef: *O herwydd ni chyfiawnheir*, medd y Psalmydd, Psal. clxiii. 2. *neb byw yn dy olwg di; sef, trwy weithredoedd y ddeddf*, neu gyfiawnder tufewnol, yr hwn sydd yn anmherffaith, megis y mae yr apostol yn egluro, Rhuf. iii, 20. Eithr fe ddarfu i'n Harglwydd Iesu, yn y cyfammod, ymrwymo i gyflawni pob cyfiawnder drostynt hwy, y rhai o honynt eu hunain nis gallent gyflawni un cyfiawnder: oddiar hyny fe wnaethwyd addewid, i'w derbyn hwynt fel rhai cyfiawn, ar gyfrif ei gyfiawnder machniol ef, yr hwn sydd yn dyfod yn eiddo gwirioneddol iddynt hwy trwy ffydd, a hyny trwy hawl ddaublyg. 1. Trwy hawl rhydd rodd wedi ei derbyn: yn gymmaint a bod cyfiawnder Crist yn cael ei drosglwyddo, yn yr efengyl, fel rhydd rodd y nef i bechaduriaid, y mae y rhodd yn cael ei hòni a'i derbyn yn weithredol trwy ffydd; oddiwrth yr hyn y mae hi yn cael ei galw yn *ddawn*

*cyfiawnder* (Rhuf. v. 17.) yn cael ei datguddio i ffydd, (Pen. i. 17.) sef, i gredu ynddo, ac felly ei dderbyn. 2. Trwy hawl cymmundeb â Christ: yn gymmaint a bod pechaduriaid, wedi eu huno ag ef trwy ffydd, yn meddu trwy hyny, gymmundeb, neu hawl gyffredinol, gydâg ef yn ei gyfiawnder, Philip. iii. 9. "Ac y'm cair ynddo ef heb fy nghyfiawnder fy hun; yr hwn sydd o'r gyfraith, ond yr hwn sydd trwy ffydd Crist." Ar y seiliau hyn, y mae santeiddrwydd natur Crist, cyfiawnder ei fywyd ef, a'r boddlonrwydd a wnaeth trwy ei ddyoddefaint a'i farwolaeth, yr hyn yw sylweddol ranau y cyfiawnder hwnw, yn ol gwirionedd, yn cael ei gyfrif i'r credadyn, neu ei gyfreithiol gyfrif yn eiddo ef: ac ar y cyfrif o hyny yn bennodol, y mae ef yn cael ei dderbyn gan Dduw megis yn gyfiawn, gan gael ei wneuthur "yn gyfiawnder Duw ynddo ef," 2 Cor. v. 21. "sef cyfiawnder Duw yr hwn sydd—i bawb, ac ar bawb a gredant," Rhuf. iii. 22.

Dyma fywyd i'r enaid, cyfiawnder i gyfiawnhad bywyd, Rhuf. v. 18. "cyfiawnder tragywyddol," Dan. ix. 24. Gwisg nad yw byth yn heneiddio, byth yn rhwygo, nac yw, nac yn llychwino; eithr yn parhau bob amser yn ei harddwch dechreuol, o'r mynyd y gwisgwyd hi, hyd byth. O herwydd paham, y mae yn rhaid i'r bywyd, o angenrheidrwydd, fod yn dragywyddol, y mae yn rhaid o angenrheidrwydd i ras deyrnasu trwy y cyfiawnder hwnw "i fywyd tragywyddol," Rhuf. v. 21. O herwydd wedi y gwisger ef un waith, nid yw ef byth yn cael ei ddiosg mwy, dros un moment, nac mewn amser na thragywyddoldeb.

Yn awr, y mae yr addewid o gyfiawnhad y *pechadur*, yn y ddwy gangen o hono, wedi ei impio yn yr addewid o gyfiawnhad a wnaethwyd i Grist. Wedi i ammod y cyfammod gael ei chyflawni, y mae y pen yn cael ei gyfiawnhau yn

ol yr addewid, ac yno yr aelodau ynddo ef. Yn gyntaf, y mae y Cyfryngwr yn codi ei dâl-nod am yr holl ddyled: ac yno, y maent hwythau trwy ei dadleu hi mewn ffydd, er eu helw eu hunain, yn cael eu rhyddhau yn eu personau eu hunain.

II. Yr addewid o berthynas gyfammodol newydd ac achubol â Duw.

Y mae yr addewid o fywyd tragywyddol i'r etholedigion, yn cynnwys hefyd, yr addewid o berthynas gyfammodol newydd ac achubol â Duw, i'r hon y cânt hwy bob un o honynt (gan gael eu cyfiawnhau), eu dwyn, Hos. ii. 23. "Ac a ddywedaf wrth y rhai nid oedd bobl i mi, fy mhobl wyt ti; a hwythau a ddywedant, O fy Nuw." Gan iddynt farw yn gyfreithiol a moesol, trwy y tòriad o'r cyfammod cyntaf, hwy a syrthiasant dan farwolaeth berthynasol hefyd: trwy yr hyn y diddymwyd y berthynas fendigedig oedd rhwng Duw a hwynt; ac nis gallasai gael ei hadferyd drachefn, tra y byddent hwy yn gorwedd dan ddedfryd gollfarnol y gyfraith. Eithr ar waith Crist yn machnïo yn y cyfammod, i ddwyn cyfiawnder tragywyddol i mewn, yr hyn yw pris prynedigaeth pob cymmwynasau achubol, fe wnaethwyd yr addewid hon. Oherwydd paham, a hwy wedi dyfod at Grist trwy ffydd, a'u huno âg ef, a'u cyfiawnhau trwy ei gyfiawnder ef, yr hwn y maent yn cyfranogi o hono ynddo ef, y mae Duw yn eu cyfarfod hwynt yno, sef yn Nghrist, y lle cyfarfod gosodedig: ac yno, gydâ diogelwch ei anrhydedd y mae yn eu cymmeryd hwynt erbyn eu llaw, ac yn ymuno â hwynt drachefn mewn berthynas achubol. Yn y modd hyn y mae ganddynt fywyd perthynasol yn ol hyny, Psal. xxx. 5. "Yn ei foddlonrwydd y mae bywyd." Yr hwn fywyd sydd dragywyddol: yn gymmaint a bod y berthynas yn annattodol byth; yr oedd rhwymiad ar ail gyfammod gymmaint yn sicrach nâ rhwym-

iad y cyfammod cyntaf, ag oedd machnïaeth yr ail Adda yn sicrach nâ machnïaeth yr Adda cyntaf.

Yn awr, y mae tair o brif gangenau yn perthyn i'r addewid hon; sef, yr addewid o gymmodiad, o fabwysiad, ac o i Dduw fod yn Dduw iddynt.

1. Yr addewid o gymmodiad rhwng Duw a hwynt, Ezec. xxxvii. 26. "Gwnaf hefyd â hwynt gyfammod hedd; ammod tragywyddol a fydd â hwynt." Yr oeddent hwy trwy bechod mewn cyflwr gelyniaethol â Duw: o'u tu hwynt, yr oedd gelyniaeth wirioneddol yn erbyn Duw; o du Duw, yr oedd gelyniaeth gyfreithiol yn eu herbyn hwynt, y fath ag y sydd gan y barnwr yn erbyn y drwg-weithredwr, yr hwn er hyny y dichon iddo fod yn ei garu yn anwyl. Eithr wedi i Iesu Grist ymrwymo, yn y cyfammod, i ddyhuddo eu heuog-rwydd hwynt, trwy ei aberthu ei hun, fe wnaeth y Tad addewid o heddwch a chymmodiad â hwynt oddiar hyny. Oddiyma y dywedir ein bod wedi ein "heddychu â Duw trwy farwolaeth ei Fab ef," Rhuf. v. 10. Megis ag mai trwy ei ddy-oddefaint a'i farwolaeth y pwrcasodd efe ein cymmodiad ni, yr hyn a addawyd ar yr ammodau hyny.

Yn awr, y mae yr addewid hon yn cael ei chyf-lawni i'r pechadur cyfiawnhaol: wedi maddeu iddo, y mae ef yn cael ei ddwyn i sefyllfa o hedd-wch â Duw, megis y dywed yr apostol, Rhuf. v. 1. "Wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, y mae gennym heddwch tuag at Dduw." Y mae Duw yn rhoddi ei elyniaeth cyfreithiol yn ei erbyn ef i lawr, mewn modd nad yw hi i gael ei chodi byth mwy. A mwy nâ hyny, y mae yn ei gymmeryd ef i mewn i rwymyn cyfeillgarwch; fel y mae ef nid yn unig mewn heddwch â Duw, eithr yn gyfaill Duw, Iago ii. 23. "Credodd Abraham i Dduw, a chyf-rifwyd iddo yn gyfiawnder: a chyfaill Duw y galwyd ef."

Y mae yr addewid hon wedi ei himpio yn yr addewid o dderbyniad a chyfiawnhad a wnaethwyd i Grist. Oherwydd wedi i'w aberth ef gael ei dderbyn, fel llwyr foddlonrwydd i Dduw, ac yntau ei ryddhau oddiwrth y ddyled y daeth ef yn fachnïydd am dani, y mae cymmodiad, yn gystal a maddeuant y rhai hyny a unwyd âg ef trwy ffydd, yn naturiol yn canlyn oddiar hyny, 2 Cor. v. 19, bod "Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau." Eph. i. 6, 7. "Trwy yr hwn y gwnaeth ni yn gymmeradwy yn yr Anwylyd: yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau."

2. Cangen arall o'r addewid hon yw, yr addewid o'u mabwysiadu hwynt i deulu Duw, Hos. i. 10. "Dywedir wrthynt, Meibion y Duw byw ydych." Ac y mae hyn yn fwy nâ'r un flaenorol; megis y mae yn fwy i fod yn fab i ddyn nâ bod yn gyfaill iddo. Yr ydym wedi mynegi o'r blaen, pa fodd yr oedd holl ddynolryw, yn ol y cyfammod cyntaf, wedi eu gosod yn weision cyflog i Dduw; ac iddynt, trwy y toriad o'r cyfammod hwnw, ddyfod yn gaeth-weision dan y felldith: a pha fodd y cymmerodd Crist y sefyllfa hòno o gaeth-wasanaeth ei hâd ysbrydol arno ei hun? Yn awr, ar yr ystyriaeth o iddo ef gymmeryd arno ei hun agwedd caeth-was drostynt hwy, y gwnaethwyd yr addewid o'u mabwysiadu hwynt i deulu Duw. Fe'i gwnaethwyd ef "dan y ddeddf, fel y prynai y rhai oedd dan y ddeddf, fel y derbyniem y mabwysiad," Gal. iv. 4, 5.

A chan fod wedi eu cyfiawnhau trwy ffydd, a'u cymmodi â Duw, y mae hyn yn cael ei gyflawni iddynt; yn gymmaint a bod gwasanaeth Crist y pryd hyny yn cael ei gyfrif iddynt hwy, a ffordd yn cael ei hagor oddiar hyny i roddi derbyniad iddynt i deulu Duw, trwy eu cymmodiad gweith-

redol âg ef, Rhuf. v. 1, 2. "Gan ein bod wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, y mae gennym heddwch tuag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist, trwy yr hwn hefyd y cawsom ddyfodfa trwy ffydd i'r gras hwn, yn yr hwn yr ydym yn sefyll." Ioan i. 12. "Cynnifer ag a'i derbyniasant ef, efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw." Y pryd hyny y maent hwy yn cael eu cymmeryd fel plant i mewn i deulu'r nef; y mae Duw yn dyfod yn Dad iddynt yn Nghrist, a hwythau yn feibion ac yn ferched iddo yntau, i aros byth yn ei dŷ ef, Ioan viii. 35. Ac felly y mae ganddynt hawl i holl ragorfreintiau y berthynas uchel hòno.

Yn awr, y mae yr addewid hon wedi ei himpio yn yr addewid a wnaethwyd i Grist, o fath newydd o hawl yn Nuw, fel ei Dad; yn ol hyny, Ioan xx. 17. "Yr wyf yn dyrchafu at fy Nhad i a'ch Tad chwithau." Oherwydd trwy ysbryd mabwysiad yr ydym yn galw Duw, *ein Tad*, yn hawl Iesu Grist, ein Brawd hynaf, ein Priod ysbrydol, a'n Pen.

3. Y gangen ddiweddaf yw, yr addewid o i Dduw fod yn Dduw iddynt hwy, Heb. viii. 10. "Mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw." Y mae hyn yn fwy nâ chymmodiad a mabwysiad: hyn yw yr uchder mwyaf o'r berthynas â Duw y gallasai creadur pechadurus gael ei ddyrchafu iddi. Yr oeddent hwy wrth natur heb Dduw, Eph. ii. 12. Eithr megis y darfu i Fab Duw, yn y cyfammod, ymrwymo i roddi ei hun drostynt hwy, i berffaith foddloni'r gyfraith yn eu natur hwynt, yn ei enedigaeth santaidd, ei fywyd cyfiawn, a'i farwolaeth arteithiol; ac megis iawn o anfeidrol werth, yn gyflawn uchlaw yr oll o bethau creuedig pa beth bynag, grasusau, maddeuant, a nef; fe wnaethwyd, ar y cyfrif-werth o hyny, yr addewid o i Dduw roddi ei hun iddynt hwy, megis cyfartal wobr y gwasanaeth hwnw; yr hwn, pan

gyflawnodd y Cyfryngwr ef, a bwrcasodd y gwobr hwn iddynt hwy. Oddiyma y mae Duw yn dywedyd wrth Abraham, Gen. xv. 1. "Myfi ydyw—dy wobr mawr iawn."

Yn awr, y mae yr etifeddiaeth hon yn dyfod i'r credinwyr, wedi eu cyfiawnhau, eu cymmodi, a'u mabwysiadu i deulu Duw, trwy'r cyflawniad o'r addewid hon, Rhuf. viii. 17. "Ac os plant, etifeddion hefyd, sef etifeddion i Dduw." Gal. iv. 7. "Ac os mab, etifedd hefyd i Dduw trwy Grist." Duw ei hun yw yr etifeddiaeth. Y mae ef yn dyfod yn Dduw iddynt: y mae ganddynt hawl iddo ef, ac y maent yn ei feddiannu ef fel eu heiddo eu hunain; eiddo nas gall meddwl dynion nac angelion gyrhaedd yn gyflawn ei gynnwysiadau. Nid yn unig, y mae holl weithredoedd a chreaduriaid Duw yn y nefoedd, a'r ddaear, a'r moroedd, yn eiddo iddynt, 1 Cor. iii. 22. "y mae pob peth yn eiddo chwi:" eithr y mae ef ei hun yn eiddo iddynt, yr hyn sydd fwy nâ hyny oll; megis y mae y priod-fab yn fwy nâ'i holl wisgoedd priodas, a'i helaeth feddiannau. Y mae ei holl briodoliaethau ef yn eiddo iddynt; ei anfeidrol ddoethineb i'w cyfarwyddo hwynt, ei allu i'w hamddiffyn, ei gyfiawnder i beri i'r holl gymmwynasau a bwrcaswyd gan Grist ddyfod yn ewyllysgar iddynt, ei santeiddrwydd i'w cyfnewid i'r unrhyw ddelw, ei drugaredd i dosturio wrthynt a'u cynnorthwyo, ei ras i ymddwyn yn haelionus atynt, ei ffyddlondeb i gyflawni yr holl addewidion iddynt yn eu hamser, a'u holl-ddigonolrwydd i'w gwneuthur hwynt yn gyflawn ddedwydd. Y mae ef yn eiddo iddynt yn ei holl berthynasau; eu bugail, eu darparwr, eu hamddiffynwr, eu brenin, eu priod, eu pen, a pha beth bynag a ddichon fod er eu dedwyddwch. Y mae holl bersonau y Drindod ogoneddus yn eiddo iddynt; y mae'r Tad yn eiddo iddynt, y mae'r Mab yn eiddo idd-

ynt, ac y mae'r Ysbryd Glân yn eiddo iddynt, Esa. liv. 5. "Canys dy briod yw yr hwn a'th wnaeth, Arglwydd y lluoedd yw ei enw." Heb. *Dy Briodwyr yw dy Wneuthurwyr; Jehofah Sabaoth yw ei enw.*

Y mae yr addewid gyfoethog hon, wedi ei himpio yn yr addewid a wnaethwyd i Grist, o fath newydd o hawl yn Nuw, fel ei Dduw, Ioan xx. 17. "Yr wyf yn dyrchafu at fy Nuw i a'ch Duw chwithau." Y mae Duw yn Dduw i'r Cyfryngwr trwy bwrcas, y mae ef yn dyfod yn Dduw i ni ynddo ef. Y mae Crist, wedi iddo gyflawni ammod y cyfammod, yn dyfod yn etifedd o'r etifeddiaeth fawr hòno; ac yr ydym ninau hefyd yn dyfod iddi ynddo ef, gan fod yn "etifeddion i Dduw, a chyd-etifeddion â Christ," Rhuf. viii. 17.

III. Yr addewid o santeiddiad.

Y mae yn gynnwysedig yn yr addewid o fywyd tragywyddol i'r etholedigion, yn yr un modd, yr addewid o'u santeiddiad hwynt, Ezec. xi. 19, 20. "Tynaf hefyd y galon gareg ymaith o'u cnawd hwynt, a rhoddaf iddynt galon gig, fel y rhodiont yn fy neddfau." Edr. Joel iii. 17, 21. Heb. viii. 10. Fe ddarfu iddynt, trwy'r toriad o'r cyfammod cyntaf, golli delw Duw: fe ddarfu i'w holl gynneddfau gael eu llygru felly, fel nas gallent feddwl, dywedyd, na gweithredu, dim ag a fyddai'n wirioneddol dda a chymmeradwy gan Dduw; yr oeddent wrth natur yn gyfan-gwbl ansantaidd; yn aflan, atgas, a ffiaidd, yn eu natur, calon a bywyd. Ac yr oedd ef yn gyflawn uwchlaw eu gallu hwynt i wneuthur eu hunain yn santaidd drachefn: oherwydd nis gallasai gwellhau eu natur ddwyn y peth i ben; yr oedd yn rhaid iddi gael ei hadnewyddu, Eph. iv. 23. Ac yr oedd melldith y gyfraith oedd yn gorwedd arnynt hwy, yn diddymu pob perthynas gadwedigol rhwng

Duw a hwynt; ac felly'n cau i fynu bób rhydddramwy â'r nef: oherwydd yr oedd hi'n atal, yn ol cyfiawnder, bob dylanwad santaidd oddiyno; y rhai hyn oedd y cymmwynasau mwyaf yr oeddent hwy yn abl i'w derbyn, fel ag i debygoli y creadur i Dduw ei hun, neu ei adferyd ef i'w ddelw ef. Fe sefydlodd y felldith gagendor rhwng Duw a hwynt, fel nas gallai dylanwadau santeiddiol dramwy oddiwrtho ef atynt hwy, mwy nâg y gallai eu dymuniadau a'u gweddiau ansantaidd hwynt dramwy oddiwrthynt hwy ato ef. Felly, yr oedd yr angelion syrthiedig bob amser, ac y mae y rhai damnedig yn awr, y tu hwnt i bob posiblrwydd o santeiddiad, neu o dderbyn dylanwadau santeiddiol o'r nef; nid oedd un feddyginiaeth i symud y felldith oddiar y naill na'r llall o honynt. Ac yn y cyflwr hwn y buasai i holl hiliogaeth Adda orwedd byth, oni buasai i Iesu Grist, megis pen yr etholedigion, ymrwymo, yn yr ail gyfammod, i symud y rhwystr hwnw, i lanw y gagendor, ac i ffurfio perthynas gadwedigol newydd rhwng Duw a hwynt, trwy ei ufudddod a'i farwolaeth ei hun. Eithr oddiar y machnïad hwnw o eiddo'r Cyfryngwr, fe ddarfu i'r Tad trwy addewid, sicrhau eu santeiddiad hwynt; y byddai i bobl Crist fod yn *ewyllysgar yn nydd ei nerth ef, mewn harddwch santeiddrwydd,* Psal. cx. 3. Ac y byddai *i'w had ei wasanaethu ef,* Psal. xxii. 30.

Ac y mae'r addewid hon, yr addewid o santeiddiad, mewn gwirionedd, y brif addewid a wnaethwyd i Grist yn y cyfammod, iddynt hwy: y mae hi y'mhlith y lleill, o'r fath hyny, yn llewyrchu fel y lleuad y'mhlith y ser lleiaf. Santeiddhad yw unig brif ddyben is-raddol y cyfammod gras, yn sefyll ynddo ef yn nesaf i ogoniant Duw, yr hwn yw y prif a'r dyben eithaf o hono ef. Yr addewid o hono ef yw canol-barth yr holl add-

ewidion ereill: y mae yr holl addewidion blaenorol, yr addewid o gadwraeth, o'r Ysbryd, o'r adgenedliad cyntaf, neu fywhau'r enaid marw, ffydd, cyfiawnhad, y berthynas achubol newydd â Duw, cymmodiad, mabwysiad, a mwynhad o Dduw fel ein Duw ni, yn arwain i hon fel eu canol-barth cyffredin, ac yn sefyll mewn perthynas â hi fel gwaith eu dyben hwynt. Y maent oll yn cael eu cyflawni i bechaduriaid, mewn trefn i'w gwneuthur hwynt yn santaidd. Ac nid yw'r holl addewidion canlynol, hyd y nod yr addewid o ogoneddiad ei hun, ond yr un addewid o santeiddiad yn cael ei heangu a'i hestyn allan: nid ydynt ond cynnifer pelydr o oleuni, yn saethu allan o honi hi fel y y canol-barth o honynt oll.

Y mae hyn yn ymddangos oddiwrth y darluniadau ysbrydol o'r cyfammod, yn y rhan addewidiol o hono mewn perthynas i'r etholedigion, Luc i. 73—75. "Y llw a dyngodd efe wrth ein tad Abraham, ar roddi i ni, wedi ein rhyddhau o law ein gelynion, ei wasanaethu ef yn ddiofn, mewn santeiddrwydd a chyfiawnder ger ei fron ef, holl ddyddiau ein bywyd." Dyma y llw, neu y cyfammod, a dyngwyd i Abraham, megis cysgod o Grist; yn yr hyn y mae i'w hâd ef wasanaethu yr Arglwydd mewn santeiddrwydd, yn cael ei ddal allan megis y prif beth a dyngwyd i'r Cyfryngwr gan y Tad; a'u rhyddhad oddiwrth eu gelynion, megis y moddion i'r dyben hyny. Gwel Heb. viii. 10—12. Lle y mae gwaith Duw yn *ysgrifenu ei gyfraith yn eu calonau*, yn y blaen, megis y peth blaenaf yn yr amcan Ddwyfol, er mae y diweddaf mewn gweithrediad ydyw, megis yr ymddengys wrth gymharu y 10ed a'r 12ed o adnodau. Y mae y mater hwn yn amlwg hefyd oddiwrth natur y peth: o herwydd y peth mawr yr oedd Satan yn amcanu ato, trwy hudo ein rhieni cyntaf, oedd distrywio delw Duw ynddynt

hwy, fel na byddai dynolryw yn debyg i Dduw mwy, ond yn debyg iddo ef ei hun: ac fe fydd dirgelwch Duw, er adennill pechaduriaid, y pryd hyny wedi ei orphen, pan ddygir santeiddrwydd i berffeithrwydd ynddynt hwy, yn y nef, ac nid cyn hyny.

Oddiwrth yr hyn oll, y gall un ddeall yn amlwg, fod santeiddiad y rhai oll a gaiff weled y nef, wedi ei sicrhau yn y cyfammod, ar seiliau anffaeledig, y tu hwnt i bob posiblrwydd o fethu; ac na fedd y rhai ansantaidd un rhan na chyfran achubol yn y cyfammod; a pha leiaf o santeiddrwydd a fyddo dyn yn ei feddu, lleiaf i gyd y mae addewid y cyfammod yn cael ei chyflawni ynddo ef. O herwydd, santeiddiad pechaduriaid yw bwriad mawr y ddyfais hòno; hyny oedd gan y Tad a'r Mab, yn eu hedrychiad arnynt hwy yn hyny, yn benaf yn eu golwg: a'r addewid o hyny, yw prif addewid y cyfammod, mewn golygiad arnynt hwy; wedi ei hysgrifenu, megis pe bai, mewn llythyrenau mawrion.

Yn awr, y mae yr addewid hon, ar yr amser gosodedig yn y cyngor tragywyddol, yn cael ei chyflawni i bob un. Y mae y pechadur, wedi ei gyfiawnhau ef, a'i gymmeryd i berthynas achubol a Duw, a'i gymmodi, a'i fabwysiadu, a'i wneuthur yn etifedd i Dduw, trwy Grist, yn cael ei santeiddio. Wedi i'r rhwystr gael ei symud, a'r gagendor ei llanw ar ei ei ran ef, ei hawl achubol yn, a'i berthynas a'r Duw santaidd wedi ei sefydlu; y mae y gymdeithas rhwng y nef a'r pechadur yn cael ei hagor, ac y mae y dylanwadau santeiddiol yn dylifo yn ddyfal, er cwbl santeiddiad iddo ef.

Y mae hyn yn cael ei alw gan rhai duwinyddion, yr *ail adenedigaeth*, yn gyfattebol i'r ysgrythyr, Tit. iii. v. "Yr achubodd efe nyni, trwy olchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd

Glân;" cymharwch âg Eph. v. 26. "Fel y santeiddiai efe hi, a'i glanhau â'r olchfa ddwfr," 2 Cor. v. 17. "Od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd;" sef, "wedi ei greu yn Nghrist Iesu i weithredoedd da," megis y mae yr apostol ei hun yn ei esponio ef, Eph. ii. 10. Ac megis y mae mewn adenedigaeth, a'i chymmeryd hi yn y modd cyfyngaf, am fywhau yr enaid marw, a'i galw hi yr *adenedigaeth gyntaf*, alluoedd bywydol newydd yn cael eu rhoddi; felly y mae mewn adenedigaeth, a'i chymmeryd hi yn y modd helaethaf, am y ffurfiad o'r creadur newydd yn ei holl ranau a'i wahanol aelodau, yr hyn a elwir yr *ail adenedigaeth*, cynneddfau a thueddiadau newydd o ras, yn cael eu tywallt i mewn; ac y mae hyn yr un peth a'r ail adnewyddu, a grybwyllir yn ein hegwyddor-lith byraf, ar y pen o santeiddhad; "trwy yr hyn yr ydym yn cael ein hadnewyddu yn yr holl ddyn, yn ol delw Duw."

Y mae'r mater yn gorwedd yma: wedi i'r pechadur gael ei uno â Christ trwy ffydd, trwy'r cyfranogiad o'r Ysbryd sydd yn bywhau, o Grist iddo ef; ac oddiar hyny gael ei gyfiawnhau, ei gymmodi, ei fabwysiadu, a'i wneuthur yn etifedd o Dduw; y mae mesur o bob gras, sef yr hâd o bob grasusau, yn deillio o, ac yn cael eu cyfranu, allan o'r holl gyflawnder o ras sydd yn y dyn Crist, y Pen, i'r pechadur, megis aelod o hono ef, trwy'r un ysbryd yn preswylio yn y Pen a'r aelodau. Wrth hyn, y mae'r dyn nid yn unig yn greadur ysbrydol fyw, eithr yn greadur newydd oll, wedi ei santeiddio yn gyfan-gwbl, neu trwyddo oll, wedi ei adnewyddu yn yr holl ddyn, yn ol delw Duw. Oherwydd, y mae'n rhaid i effaith diaros y cyfranogiad hyny o ras o Grist, fod yn seliad ar y person â delw Crist: yn gymmaint a'i fod ef yn derbyn gras am *bob* gras yn Nghrist, megis y mae'r cwyr yn derbyn nod am nod yn y

sel. Felly y mae adferadwy ddelw Duw yn cael ei gosod yn amlwg arnom ni yn ddiatreg, o Grst yr ail Adda, yr hwn yw delw y Duw anweledig: yn yr un modd ag y cafodd Efa ei gwneuthur ar ddelw Duw, trwy ei gwneuthur hi ar ddelw Adda, yn ol Gen. ii. 18. "Gwnaf iddo ymgeledd gymmwys iddo;" ymyl y ddalen, *megis ger ei fron ef*, hyny yw, ar ei lun ef ei hun, megis pe buasai efe yn eistedd i fod y darlun o honi. Cymharwch 1 Cor. xi. 7, 8. "Am ei fod (sef y gwr) yn ddelw a gogoniant Duw; a'r wraig yw gogoniant y gwr. Canys nid yw y gwr o'r wraig, ond y wraig o'r gwr." Ac 2 Cor. viii. 23. "Ein brodyr, cenhadau yr eglwysi ydynt, a gogoniant Crist." Ac yn y modd hyn y mae ein hundeb â Christ, trwy'r Ysbryd, trwy ffydd, yn deillio yn ein dyfodiad yn un ysbryd, hyny yw, o'r un natur ysbrydol santaidd ag ef; mor wirioneddol ag yr oedd Efa yn un cnawd ag Adda, wedi ei llunio o hono ef, o'i gnawd ef ac o'i esgyrn ef, Gen. ii. 23.; at yr hyn y mae'r apostol yn cyfeirio, yn y mater am yr undeb cyfriniol rhwng Crist a'r credinwyr, Eph. v. 30. "Oblegid aelodau ydym o'i gorff ef, o'i gnawd ef, ac o'i esgyrn ef."

Hyn yw hanes yr ysgrythyr am y mater; yn ol yr hyn, y mae i santeiddhad y pechadur neillduol berthynas â Iesu Grist, a'i Ysbryd; ac y mae ef hefyd yn ymddibynu ar ein sefyllfa berthynasol yn yr hawddgarwch dwyfol; ac felly nid yw ef yn llai dirgelwch nâ'n cyfiawnhad ni. Megis y mae llygriad y natur ddynol wedi bod bob amser mor amlwg, fel nas gallasai ddianc rhag sylwi arni yn y byd; felly, y'mhob oes, y mae dynion wedi bod yn amcanu i egluro a dwyn i ben y gwellhâd o honi, trwy'r iawn ddefnydd yr oeddent hwy yn ei dybio a allasent ei wneuthur o'u cynneddfau rhesymol. Y canlyniad o'r hyn ni bu un amser, ar y goreu, ond ymddangosiad allanol, a rhith

santeiddrwydd, yn myned dan yr enw o *rinwedd moesol*, heb un neillduol berthynas rhyngddo a Iesu Grist, a'i gyfanneddol Ysbryd; eithr y mae, er gwaeled ydyw, yn cael ei osod ganddynt yn sylfaen sefyllfa berthynasol dynion a hawddgarwch Duw. A chan nad adnabu y byd trwy eu doethineb 'mo Dduw, nid yw yn beth dyeithr mewn un modd, fod dangosiad eu doethineb, am ddefnydd santeiddhâd, neu debygolrwydd i ddelw Duw, yn aros mor bell oddiwrth y gwir santeiddrwydd derbyniol ganddo ef, a ddatguddir yn ei air. Yn ddiau, yno yn unig y gallwn ddysgu y dirgelwch o santeiddiad y pechadur. Ac yno yr eglurir, fod y gwaith mawr hwnw'n cael ei weithio gan yr Ysbryd ar eneidiau dynion, mewn cyflwr o undeb â Iesu Grist, ac ar ol credu, Eph. i. 13. "Yn yr hwn hefyd, wedi i chwi gredu, y'ch seliwyd trwy Lân Ysbryd yr addewid." Y mae ef yn ymddibynu o angenrheidrwydd ar ein hundeb ni â Christ, fel y byddom i gael ein santeiddio yn Nghrist Iesu, fel aelodau o'i gorff ef, Eph. ii. 10. "Wedi ein creu yn Nghrist Iesu i weithredoedd da." A ffydd yw yr achos offerynol o'n santeiddhâd ni, gan ein bod yn cael *ein santeiddio trwy ffydd*, Act. xxvi. 18. oherwydd trwyddi hi y mae, ein bod yn *derbyn o'i gyflawnder ef ras am ras*, (Ioan i. 16.): yr hwn sydd yn cael ei gyfrànu i ni trwy ei Ysbryd ef, yr hwn sydd yn ei ogoneddu ef, trwy ein hadffurfio ni yn ol ei ddelw ef, trwy y cyfranogiad hwnw o râs o Grist i ni: Ioan xvi. 14. "Efe a'm gogonedda i: canys efe a gymmer o'r eiddof, ac a'i mynega i chwi." Felly, "yn edrych ar ogoniant yr Arglwydd *(Crist)* megis mewn drych, a newidir i'r unrhyw ddelw, o ogoniant i ogoniant, megis gan Ysbryd yr Arglwydd," 2 Cor. iii. 18. Fel hyn y mae y dyn a fyddo yn Nghrist, yn cael ei wneuthur yn greadur newydd; yn gymmaint a'i fod ef y fath foncyff ag y sydd yn troi yr

impyn, i'w natur ei hun. "Gan hyny, od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd," pen. v. 17. "Canys cynnifer o honoch ag a fedyddwyd yn Nghrist, a wisgasoch Grist," Gal. iii. 27. Y mae yn ymddibynu hefyd ar ein cyfiawnhad a'n cymmod â Duw; gan fod gwaed Crist, â'r hwn y'n santeiddir, yn ol yr ysgrythyr, Dat. i. 5. 1 Pedr i. 2. 1 Ioan i. 7. yn effeithio ein santeiddhad, fel yr haeddiannol achos o hono: ac felly y mae rhinwedd santeiddiol y gwaed gwerthfawr hwnw, yn tarddu oddiwrth ei rinwedd cymmodol ef; y mae yn ein santeiddio ni, o herwydd ei fod yn ein cyfiawnhau ni a'n heddychu â Duw. Heb. ix. 14. "Pa faint mwy y bydd i waed Crist, yr hwn trwy yr Ysbryd tragywyddol a'i hoffrymodd ei hun yn ddifai i Dduw, buro eich cydwybod chwi oddiwrth weithredoedd meirwon, i wasanaethu y Duw byw?" O herwydd paham, medd yr apostol, 1 Thes. v. 23. "A gwir Dduw y tangnefedd a'ch santeiddio yn gwbl oll." Yn yr un modd, y mae yn rhagolygu ein mabwysiad hefyd; megis mai oddiar ein bod wedi ein mabwysiadu i deulu Duw, yr ydym yn derbyn Ysbryd ei Fab ef, i'n cydffurfio ni â'i ddelw ef, megis ein brawd hynaf, yr hyn yw yr unig beth, yn yr hyn y mae ein santeiddrwydd yn gynnwysedig: "Oblegid y rhai a rag-wybu, a rag-luniodd efe hefyd *i fod* yn un ffurf â delw ei Fab ef; fel y byddai efe yn gyntafanedig y'mhlith brodyr lawer." Rhuf. viii. 29. "Ac o herwydd eich bod yn feibion, yr anfonodd Duw Ysbryd ei Fab i'ch calonau chwi, yn llefain, Abba, Dad," Gal. iv. 6. "Nyni a newidir i'r unrhyw ddelw, megis gan Ysbryd yr Arglwydd," 2 Cor. iii. 18. Ac y mae yn sefyll yn yr un berthynas â dyfodiad Duw yn Dduw i ni. Ezec. xvi. 8, 9. "Tyngais hefyd i ti, ac euthum mewn cyfammod â thi, medd yr Arglwydd Dduw, a thi a aethost yn eiddof fi. Yna mi a'th olchais â dwfr; ie, golchais dy

waed oddiwrthyt, ac irais di âg olew."

Eithr, er y cyfranir yn y gwaith hwn o santeiddhad, fesur, o'r holl gyflawnder, o bob gras sydd yn Nghrist, a hyny yn fesur meistrolaidd o bob gras; etto, nid yw yn fesur cyflawn o un gras. Oddiyma y mae y peth yn cymmeryd lle; er ein bod trwy hyn wedi ein hadnewyddu yn yr holl ddyn, etto yr ydym yn anadnewyddol yn yr holl ddyn hefyd; sef, mewn perthynas i ddwy ran gyffredinol, am hyny a elwir *y rhan adnewyddol*, a'r *rhan anadnewyddol*. Am fod y cyfranogiad hwn o ras, yn ras am bob gras yn Nghrist, yr ydym trwy hyny wedi ein hadnewyddu y'mhob neillduol ran; eithr nid yw y mesur o un o'r grasusau hyn yn llawn mewn un enaid tra y byddo yma, nid ydym wedi ein hollol adnewyddu mewn un o'r cyfryw ranau; eithr y mae gweddillion o lygredd o hyd yn aros y'mhob un o'r cyfryw ranau, yn y meddwl, yr ewyllys, a'r serchiadau; ac yn y corff, mewn ffordd o gyd-gyfranogi â'r rhan anadnewyddol. Yn y modd hyn, y mae dwy egwyddor wrthwynebol, sef gras a llygredd, yn y rhai santeiddiedig; yn bod y'nghyd, yn y fath fodd, fel y'mhob pennodol ran lle mae y naill, y mae y llall yno hefyd gydâ hi; yn yr un modd ag y mae goleuni a thywyllwch, ar y wawr-ddydd, y'mhob rhan o hanner-cylch yr wybr; yr hyn beth y mae'r ysgrythyr yn ei egluro yn gyflawn oll: o herwydd nid yw yr hyn sydd o'r gwaith grasol hwn arnom ni, tra y byddom yma, ond mewn rhan; nid yw ef ddim yn berffaith, 1 Cor. xiii. 9, 10. Er fod dyn newydd wedi ei wisgo, y mae hen ddyn i'w ddiosg, Eph. iv. 22, 24. Y mae cnawd yn gystal ag ysbryd yn y goreu, Gal. v. 17. Pwy gan hyny a welir ond fel y wawr, Can. vi. 10. neu, fel y mae y gair yn priodol arwyddocâu, fel toriad y dydd: etto, fel y mae toriad y dydd yn gwahaniaethu oddiwrth y tywyll nos, felly y maent hwythau trwy hyny yn gwahaniaethu oddiwrth y rhai an-

santaidd, yn y rhai nid oes dim goleu, Esa. viii. 20. Hebr. *dim gwawr*. Edr. Rhuf. vii. 14—24. Phil. iii. 21.

Eithr megis y mae mesur meistrolaidd o bob gras yn cael ei gyfranu yn y modd hyn, y mae y gwaith hwn o santeiddhad yn myned yn y blaen mewn ffordd o farwolaeth i bechod, a ffordd o fywyd i gyfiawnder.

1. Y mae yn myned yn y blaen mewn ffordd o farwolaeth, neu farweiddiad, i bechod. O herwydd, trwy gyfrwng y cyfraniad o ras o Grist, y pen; er nad yw ef yn gyflawn, etto y mae yr hen ddyn pechod, yn cael ei farwol glwyf. Y mae gallu llywodraethol yr holl gorff o bechod yn cael ei ddinystrio; gan fod egwyddor lywodraethol o ras, trwy hyny, yn cael ei gosod i fynu yn y credadyn; a bod "ei had ef yn aros ynddo ef, ac ni all efe bechu, am ei eni ef o Dduw," 1 Ioan iii. 9. "Nid arglwyddiaetha pechod arnoch chwi; oblegid nid ydych chwi dan y ddeddf, eithr dan ras," Rhuf. vi. 14. Ac y mae y cyfan-gwbl halogiad, neu yr aflanhad, trwy bechod, trwy yr un moddion yn cael ei lanhau; yn gymmaint a bod adferadwy ddelw Duw yn gwneuthur un yn wirioneddol ac yn bersonol bur a glân y'ngolwg Duw, mor bell ag y mae hi yn myned. Tit. iii. 5. "Efe a'n hachubodd ni, trwy olchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân." Cymharwch Col. iii. 10. "A gwisgo y dyn newydd, yr hwn a adnewyddir mewn gwybodaeth, yn ol delw yr hwn a'i creodd ef." Ac yn y modd hyn, y mae y person yn cael ei osod mewn sefyllfa o farwolaeth o ran ei ran anadnewyddol. Col. iii. 3. "Canys meirw ydych." Rhuf. vi. 11. "Yn feirw i bechod." Yr hon sefyllfa o farwolaeth sydd yr un fath ag y mae dyn wedi ei groeshoelio ynddi, yr hwn wedi ei hoelio wrth y groes, nis gall byth ddyfod i lawr nes iddo anadlu ei anadliad diweddaf. Gal. vi. 14.

"Trwy yr hwn y croeshoeliwyd y byd i mi, a minnau i'r byd." Rhuf. vi. 6. "Ddarfod croeshoelio ein hen ddyn ni gydâg ef."

2. Y mae yn myned yn y blaen hefyd, mewn ffordd o fywyd i gyfiawnder, neu o fywiocâd. O herwydd, trwy gyfrwng yr un cyfranogiad o ras o Grist y pen, y mae y dyn yn cael ei gynnysgaeddu â thueddiadau o ras yn cael eu tywallt iddo, yr egwyddor ddigyfrwng o weithredoedd grasol: y mae y gyfraith wedi ei hysgrifenu yn ei galon ef; ac y mae ei galon wedi ei *henwaedu i garu yr Arglwydd.* Ac yn y modd hyn y mae ef yn cael ei osod mewn cyflwr o fywyd i gyfiawnder, mewn perthynas i'w ran adnewyddol ef; gan fod "yn farw i bechod, eithr yn fyw i Dduw, yn Nghrist Iesu ein Harglwydd," Rhuf. vi. 11. Felly y mae yr apostol yn dywedyd am dano ei hun, Gal. ii. 20. "Mi a groeshoeliwyd gydâ Christ: eithr byw ydwyf." Ac y mae y cyflwr hwn o fywyd, yr un fath ag y mae dyn ynddo o ran gweithredoedd cyffredinol bywyd; yr hwn nid yw yn unig wedi ei fywhau, eithr wedi cyfodi a dyfod allan o'r bedd. Col. ii. 12. "Yn yr hwn hefyd y'ch cyd-gyfodwyd, trwy ffydd gweithrediad Duw." Rhuf. vi. 4. "Fel megis ag y cyfodwyd Crist o feirw trwy ogoniant y Tad, felly y rhodiom ninnau hefyd mewn newydd-deb buchedd." Ac y mae ef yn fywyd tragywyddol; o herwydd, fe fydd y gras a gyfranir o Grist i'r credadyn, "ynddo yn ffynnon o ddwfr yn tarddu i fywyd tragywyddol," Ioan iv. 14.

Yn awr, y mae y marw hwn i bechod, a'r byw i gyfiawnder, yn tarddu oddiwrth ein cymmundeb ni â Christ yn ei farwolaeth a'i adgyfodiad ef. Y mae gan y rhai diweddaf hyn allu a rhinwedd ynddynt, i droi ei aelodau cyfriniol ef, i'r un ffurf ag ef, ynddynt hwy. Y mae ganddynt allu a rhinwedd, i effeithio ynddynt farw i bechod; me-

gis y darfu i Grist farw marwolaeth ffyrnig, ohiriog, a phoenus, dros bechod, etto yn wirfoddol: a chyfodiad o bechod i ddull newydd o fyw, i barhau dros amser ei breswyliad yn y byd hwn, a'i berffeithio mewn gogoniant; yn yr un modd ag y cyfododd Crist oddiwrth y meirw, i ddull newydd o fyw, yr hwn y parhaodd ynddo hyd ei esgyniad. Phil. 3. 10. "Fel yr adnabyddwyf ef, a grym ei adgyfodiad ef, a chymdeithas ei ddyoddefiadau ef, gan fod wedi fy nghyd-ffurfio a'i farwolaeth ef." Rhuf. vi. 4, 5. "Claddwyd ni gan hyny gydâg ef trwy fedydd i farwolaeth; fel megis ag y cyfodwyd Crist o feirw trwy ogoniant y Tad, felly y rhodiom ninnau hefyd mewn newydd-deb buchedd. Canys os gwnaed ni yn gyd-blanhigion i gyffelybiaeth ei farwolaeth ef, felly y byddwn i gyffelybiaeth ei adgyfodiad ef." Gan fod yn mhechod a marwolaeth Adda rinwedd aniandrwg, yn cyd-ffurfio ei hiliogaeth naturiol âg ef yn hyny, i'w halogiad hwynt; paham y golygir ef yn beth dyeithr, fod y fath rinwedd tirion yn marwolaeth ac adgyfodiad Crist, yr ail Adda, ac a gyd-ffurfia ei aelodau cyfriniol ef âg efe, yn hyny, er ei santeiddhad? "Oblegid megis yn Adda y mae pawb yn meirw, felly hefyd yn Nghrist y bywheir pawb," 1 Cor. xv. 22. Y mae marwolaeth ac adgyfodiad Crist yn meddu y rhinwedd hwn, megis y darfu iddo farw ac adgyfodi drachefn fel person cyhoedd, a theilyngu y cydffurfiad hwn a'i ddelw ef, i'w aelodau cyfriniol, Rhuf. vi. 4—12. Eph. ii. 5, 6. Ac y maent yn cael yr effaith hyn arnom ni, megis y maent yn cael eu cymhwyso i ni gan yr Ysbryd. O herwydd y mae achos ein cyfiawnhad a'n santeiddhad, yn dra thebyg i rhyddhad carcharor am ddyled, o'r carchar. Pan y byddo gwaith y machniydd yn talu y ddyled yn cael ei gymhwyso yn ol y gyfraith at y carcharor, trwy waith y

barnwr yn cyhoeddi fod hyny yn ei rhyddhau ef; yn mynyd y cymhwysiad hwnw, y mae y carcharor yn gyfreithiol rydd: nid yw efe mwy yn garcharor mewn pwnc o iawnder; er ei fod ef etto yn y carchar, hyd oni byddo i un a anfonir gan y barnwr gymhwyso hyn ato ef mewn gwirionedd, trwy agor drws y carchar iddo ef, a'i ollwng yn rhydd. Yn yr un modd a hyn, y mae marwolaeth Crist, a'i adgyfodiad, a'i ystyried fel tystiolaeth o'r cyflawn foddlonrwydd a roddodd ef, yn cael eu cymhwyso mewn modd cyfreithiol gan Dduw y barnwr, at y pechadur, ar ei waith ef yn credu; yn cael effaith ddioed arno ef, gan ei osod ef mewn cyflwr perthynasol dedwydd, mewn cyfiawnhad, a pherthynas newydd â Duw, fel ei gyfaill, ei Dad, a'i Dduw: felly, fel y mae efe trwy hyny wedi ei ryddhau, hyd y nod oddiwrth arglwyddiaeth a halogrwydd pechod, mewn pwnc o iawn, yn gystal ag y mae ef mewn gwirionedd wedi ei ryddhau oddiwrth ei euogrwydd ef: y mae efe, trwy y cymhwysiad hwnw, yn gyfreithiol farw i bechod, ac yn fyw i Dduw, Rhuf. vi. 10, 11. "Canys fel y bu efe (sef Crist) farw, efe a fu farw unwaith i bechod: ac fel y mae yn byw, byw y mae i Dduw. Felly chwithau hefyd, cyfrifwch eich hunain yn feirw i bechod; eithr yn fyw i Dduw, yn Nghrist Iesu ein Harglwydd." Yn awr, a'r felldith, yr hon oedd yn sefyll fel rhwystr cyfreithiol ar ffordd y dylanwadau santeiddiol, (mewn ystyriaeth o'r hyn, *y mae y gyfraith yn rym pechod,* 1 Cor. xv. 56.) wedi cael ei symud yn gyflawn yn y modd hyn, trwy y cyfreithiol gymhwysiad o farwolaeth ac adgyfodiad Crist at y credadyn; y mae yr Ysbryd mewn modd gwirioneddol yn cymhwyso yr un farwolaeth ac adgyfodiad iddo ef, gan ei gyd-ffurfio ef yn bersonol a hyny, trwy y cyfranogiad o ras iddo ef, o'r cyflawnder o ras sydd yn Nghrist y pen; heb yr hyn

nis gall fod y fath gyd-ffurfiad, yn ol y drefn osodedig o ras a eglurir yn yr ysgrythyr. Ac yn y modd hyn y maent yn cael effaith ddioed arno ef, gan ei wneuthur ef yn wirioneddol ac yn bersonol santaidd, mewn santeiddrwydd. Rhuf. viii. 2. "Canys deddf Ysbryd y bywyd yn Nghrist Iesu a'm rhyddhaodd i oddiwrth ddeddf pechod a marwolaeth." Col. ii. 12. "Wedi eich cyd-gladdu âg ef yn y bedydd, yn yr hwn hefyd y'ch cydgyfodwyd." 1 Cor. xii. 13. "O herwydd trwy un Ysbryd y bedyddwyd ni oll yn un corph." Ioan xv. 4. "Megis na all y gangen ddwyn ffrwyth o honi ei hun, onid erys yn y winwydden; felly ni ellwch chwithau, onid aroswch ynof fi." Yr oedd taenelliad deu-blyg o waed yr aberth, yr hwn a elwid *gwaed y cyfammod*, Exod. xxiv. Yn gyntaf, yr oedd yn cael ei daenhellu ar yr allor, er cymmod ac adheddychiad â Duw dros Israel, adn. 6. Ac yn nesaf, yr oedd yn cael ei daenellu ar y bobl, er eu puredigaeth, adn. 8. Yr oedd ei rinwedd i buro yn tarddu oddiwrth ei rinwedd i gymmodi. Yn gyfatebol i hyn y mae cymhwysiad neu daenelliad deu-ddyblyg o waed Crist yn cael ei arwyddo yn hyny: un er ein cyfiawnhad a'n cymmodiad â Duw, a grybwyllir, Heb. xii. 22, 24. "Chwi a ddaethoch—at waed y taenelliad, yr hwn sydd yn dywedyd pethau gwell nâ'r eiddo Abel;" sef, dywedyd am drugaredd a maddeuant, pan yr oedd yr eiddo Abel yn dywedyd am ddial: ac yno un arall, er ein santeiddhad, a grybwyllir 1 Ped. i. 2. "Trwy santeiddiad yr Ysbryd, i ufudd-dod a thaenelliad gwaed Iesu Grist." A hwnw yw unig wirioneddol santeiddhad y pechadur, sef yr hwn y mae iddo neillduol berthynas â Iesu Grist a'i Ysbryd.

Yn awr, y mae cangenau yr addewid o santeiddhad yn amryw: o herwydd y mae hi yn ymledu mor llydan a gorchymynion y gyfraith

santaidd, yr hon sydd, yn y lle sydd ganddi yn nghyfammod yr efengyl, yn cael ei throi i addewidion. Yn y modd hyn, lle y mae y gorchymyn, *Adnebydd yr Arglwydd;* y mae yr addewid, "hwynt-hwy oll a'm hadnabyddant, medd yr Arglwydd," Jer. xxxi. 34. Y gorchymyn yw, *Dewch ataf fi,* Mat. xi. 28. Ac y mae wedi ei addo, y *Deuant,* Psal. xxii. 31. Y gorchymyn yw, *Cerwch yr Arglwydd,* Psal. xxxi. 23. y mae wedi ei addo, "Yr Arglwydd dy Dduw a enwaeda dy galon i garu yr Arglwydd," Deut. xxx. 6. Y gorchymyn yw, *Ofnwch Dduw,* 1 Ped. ii. 17. ac y mae yn addewedig, "Mi a osodaf fy ofn yn eu calonau," Jer. xxxii. 40. Fe orchymynir i ni fod yn "*addfwyn, yn isel, a gostyngedig,*" Mat. xi. 29. ac y mae yn addawedig, Esay xi. 6. "A'r blaidd a drig gydâ'r oen—a bachgen bychan a'u harwain." Ac yn y modd hyn y mae y'mhob pwnc arall; y mae holl orchymynion y gyfraith, yn y sefyllfa hon, wedi eu cyferbynu âg addewidion yr efengyl, megis yr ymddengys oddiwrth Heb. viii. 10. "Myfi a ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddwl, ac yn eu calonau yr ysgrifenaf hwynt: a mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant i minnau yn bobl."

Eithr y prif ganghenau yw y ddwy hyn; sef yr addewid o edifeirwch, a'r addewid o wir ras a grym i bob dyledswyddau santaidd.

1. Un brif gangen o'r addewid o santeiddhad, yw yr addewid o edifeirwch. Nid yr edifeirwch deddfol hwnw, yr hwn sydd yn myned o flaen ffydd achubol, yr hwn sydd yn gyffredin i'r etholedig a'r anghymmeradwy: eithr yr edifeirwch efengylaidd hwnw, yr hwn a ddarlunir yn ein hegwyddor-lith, yr hwn y dywedir am dano yn ein hegwyddor-lith fwyaf, fod ei hâd ef yn cael ei osod yn y galon mewn santeiddhad, ac felly yn canlyn ffydd achubol a chyfiawnhad, mewn trefn natur. Ezec.

xxxvi. 31. "Yna y cofiwch eich ffyrdd drygionus, a'ch gweithredoedd nid oeddent dda, a byddwch yn ffiaidd genych eich hunain, am eich anwireddau." Psal. xxii. 27. "Holl derfynau y ddaear a gofiant, ac a droant at yr Arglwydd." Zech. xii. 10. "Hwy a edrychant arnaf fi yr hwn a wanasant, galarant hefyd am dano." Yr oedd yr holl had ysbrydol, trwy'r toriad o'r cyfammod cyntaf, yn ddefaid colledig, yn yr un modd ag ereill. Fe adawodd Adda hwynt fel cynnifer o rai diarddel ar grwydr, yn crwydro ar fynyddoedd gwagedd, yn barod i fyned yn ysglyfaeth i'r llew rhuadwy, yr hwn sydd yn myned oddiamgylch gan geisio y neb a allo ei lyncu. Esay liii. 6. "Nyni oll a grwydrasom fel defaid; troisom bawb i'w ffordd ei hun." Yr oeddent oll wedi colli'r ffordd, ac nis gallasai neb o honynt ei chael hi drachefn. Yr oeddent wedi myned ymaith oddiwrth Dduw, ac nis gallasent ddychwelyd. Hwy a droisant eu cefn arno, ac nid yr wyneb, ac a aethant mor anystwyth, fel nas gallent droi oddiamgylch ato ef, ac at eu dyledswydd. Hwy a gollasant eu llygaid, fel nas gallent weled y ffordd i ddychwelyd: *gwneuthur da ni fedrant*, Jer. iv. 22. Hwy a gollasant rym eu haelodau, fel nas gallent ddychwelyd, pe buasent yn gwybod y ffordd, mwy nag y gall yr "Ethiopiad newid ei groen, neu y llewpart ei frychni," Jer. xiii. 23. Ac yr oeddent heblaw hyny wedi colli calon i ddychwelyd: yr oedd Duw iddynt hwy yn Dduw heb ei foddloni, a'i wyneb wedi ei osod yn eu herbyn hwynt, nis gallent oddef neshau ato ef. Felly nis gallasent byth ddychwelyd, pe buasai ganddynt allu; eithr buasai pob un o honynt yn dywedyd, "Nid oes obaith. Nac oes: canys cerais ddyeithriaid, ac ar eu hol hwynt yr âf fi," Jer. ii. 25. O herwydd paham, oni buasai i'r Cyfryngwr fyned rhyngddynt, buasent yn crwydro yn ddi-ddiwedd: oni

buasai i Iesu Grist gymmeryd yr achos diobaith mewn llaw, ni buasai un pechadur dychweledig o hiliogaeth Adda, nag un gwir edifeiriol, nac un galon wedi ei mwyn dyneru mewn tristwch am bechod, nac yn troi mewn casineb yn erbyn pechod, fel pechod, mwy nag y mae y'mhlith yr angelion syrthiedig. Eithr ar y cyfrif-werth o rodiad yr ail Adda gydâ Duw, yr holl ffordd o ufudd-dod i'r gyfraith, yr hon y darfu iddynt hwy fyned ymaith oddiwrthi; ac i'r Arglwydd roddi arno ef eu hanwiredd hwy i gyd, fe wnaethwyd addewid o roddi edifeirwch iddynt, "fel y casglai efe y'nghyd yn un blant Duw hefyd y rhai a wasgarasid," Ioan xi. 52. Yn y cyflawniad o'r hon addewid, ar ol ei esgyniad ef i'r nef, fe gafwyd allan, fod "Duw wedi rhoddi i'r cenedloedd hefyd edifeirwch i fywyd," Act. xi. 18.

Yn awr, pan y mae dyn wedi ei gyfiawnhau trwy ffydd, a'i ddwyn i berthynas newydd â Duw, fel ei gyfaill, ei Dad, a'i Dduw, y mae yn cael ei santeiddio, a'i ddwyn i edifeirwch gwirioneddol ac efengylaidd, yn ol yr addewid hon. Wedi iddo ddyfod at Grist trwy ffydd, y mae ef yn dyfod yn ol at Dduw trwy Grist, mewn edifeirwch, Heb. vii. 25. Oddiwrth yr hyn y mae yn cael ei alw "yr edifeirwch sydd tuag at Dduw," ac i'r hyn y mae y "ffydd sydd tuag at ein Harglwydd Iesu Grist," yn offerynol, Act. xx. 21. Y pryd hyny, ac nid cyn hyny, y mae, fod y galon yn cael ei gosod ar waith mewn gwir edifeirwch efengylaidd, boddhaol gan Dduw, a derbyniol yn ei olwg ef: yn ol yr ysgrythyr. Ezec. xvi. 62, 63. "A mi a sicrhaf fy nghyfammod â thi; fel y cofiech di, ac y cywilyddiech, ac na byddo i ti mwy agoryd safn gan dy wrandawydd, pan ddyhydder fi tuag atat." Pen. xx 42, 43. "Hefyd, cewch wybod mai myfi yw yr Arglwydd, pan ddygwyf chwi i dir Israel: ac yno y cofiwch eich ffyrdd—fel yr

aiaroch arnoch eich hun." pen. xxxvi. 25, 26, 28, 31. "Ac a daenellaf arnoch ddwfr glân, fel y byddoch lân. A rhoddaf i chwi galon newydd—a byddwch yn bobl i mi, a minnau a fyddaf Dduw i chwithau. Yna y cofiwch eich ffyrdd drygionus —a byddwch yn ffiaidd genych eich hunain." O herwydd y pryd hyny y mae, fod cariad Duw at yr enaid, yr hwn oedd yn guddiedig o'r blaen, yn ymddangos yn ei lewyrchiadau mewn gradd mwy neu lai eglur; a chan gael ei ganfod gan ffydd, yn gyfatebol i hyny, y mae yn gwresogi calon y pechadur â chariad at Dduw drachefn, yn ol hyny, 1 Ioan iv. 19. "Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni." Ac y mae y cariad hwnw yn toddi yr enaid i edifeirwch am bechod, megis yn amgylchiad y wraig, yr hon y maddeuwyd llawer iddi, ac a garodd yn fawr, ac a ddangosodd ei chariad, trwy ei gwaith yn golchi traed ein Hiachawdwr â'i dagrau, Luc vii. 37. 38. 47. Y mae y galon galed y pryd hwnw yn cael ei gosod ar y gwely esmwyth o gariad a rhydd ras Duw yn Nghrist; ac y mae gair y gyfraith, wedi ei addurno â'r efengyl, yn syrthio arni hi, gan ddywedyd, Tor, canys y mae yr Arglwydd yn raslawn. Joel ii. 13. "Rhwygwch eich calon—ac ymchwelwch at yr Arglwydd eich Duw: o herwydd graslawn a thrugarog yw efe—a mawr ei drugaredd." Ac y mae hyn, fel gordd, yn dryllio y graig yn ddarnau. Pan y mae y person, megis y mynegwyd o'r blaen, wedi ei adnewyddu yn yr holl ddyn, a'i osod mewn sefyllfa o farwolaeth i bechod, a bywyd i gyfiawnder, y mae yr anian newydd yn gollwng ei hun allan, mewn didwyll a chyflawn dro oddiwrth bechod at Dduw, mewn calon a bywyd. Trwy gredu y mae y pechadur yn dychwelyd at Dduw fel ei etifeddiaeth, yn yr hon y mae ef i orphwys: mewn edifarhau y mae ef yn dychwelyd at Dduw, fel ei Arglwydd a'i Feistr,

yr hwn y mae i ufuddhau iddo. Y mae ef yn troi oddiwrth bechod at Dduw, ac yn dyfod yn ol fel gwas crwydredig at ei feistr, gan ddychwelyd i'w le at ei ddyledswydd yn y teulu. Y mae yn dychwelyd gyda gwyledd a dagrau. Y mae ef wedi ei lanw a galar a chywilydd am anfoddloni Duw da a graslawn. Y mae ei galon wedi troi yn erbyn pechod, mewn casineb ato: y mae yn ei gashau ef, nid yn unig fel peth niweidiol, yr hwn a'i handwyai ef, eithr fel peth brwnt ac atgas, yr hwn sydd yn ei halogi ef. Y mae yn ei ffieiddio ef, fel y peth atgas y mae Duw yn ei gashau; fel anferthwch yr enaid, yr unig beth gwrthwyneb i santeiddrwydd ardderchog Duw a eglurir yn ei gyfraith ef. Y mae yn ffieiddio ei hun o'i herwydd ef; yn galw ei hun yn ynfyd ac yn anifail, am iddo roddi derbyniad iddo; y mae yn curo ei ddwyfron, megis pe bae ef am ddryllio y galon hono y meithrinwyd ef ynddi; ac yn taro ei forddwyd, megis pe y torai yr esgeiriau hyny a'i cariodd ef yn ffordd pechod. Luc xv. 20, 21. a'r xviii. 13. Jer. xxxi. 18, 19. Ac y mae ef yn dychwelyd mewn cyflawn fwriad o, ac ymegniad i roddi ufudd-dod newydd; a'i galon wedi ei thueddu i gadw deddfau Duw bob amser, ie, hyd y diwedd, Psal. cxix. 12. Ac y mae wedi ei lanw ag astudrwydd yn, awyddfryd am, ac eiddigedd dros y pwnc hwn, 2 Cor. vii. 11.

2. Y brif gangen arall o'r addewid o santeiddhad yw, yr addewid o ras gweithredol, a grym i bob ufudd-dod santaidd; trwy yr hyn y gall dyn gael ei alluogi i gyflawni ufudd-dod a fyddo yn dderbyniol, yn yr oll, a phob gweithred o farweiddiad, neu o farw i bechod, ac o fyw i gyfiawnder; i wneuthur pob dyledswydd a ofynir ganddo, ac i gynnal pa gystuddiau bynag a osodir arno ef. Psal. xxii. 30. "Eu had a'i gwasanaetha ef." Zec. x. 12. "Nerthaf hwynt hefyd yn yr Argl-

wydd, ac yn ei enw ef yr ymrodiant." Hos. xiv. 9. "Uniawn yw ffyrdd yr Arglwydd, a'r rhai cyfiawn a rodiant ynddynt." Ezec. xxxvi. 27. "A gwnaf i chwi rodio yn fy neddfau, a chadw fy marnedigaethau, a'u gwneuthur." A Deut. xxx. Y mae yr addewid wreiddiol o santeiddhad, mewn enwaedu y galon i garu yr Arglwydd, yn y lle cyntaf yn cael ei gosod gerbron, adn. 6. ac yna y mae yn canlyn, y ddwy gangen o honi y'nghyd, sef, yr addewid o edifeirwch, a'r addewid o ras gweithredol i ufudd-dod newydd, adn. 8. "Tithau a ddychweli, ac a wrandewi ar lais yr Arglwydd, ac a wnai ei holl orchymynion ef." Fe blanodd Duw Adda yn winwydden odidog, ac a'i gwnaeth ef fel pren gwyrdd-las yn llawn nodd, i ddwyn pob ffrwyth i santeiddrwydd: eithr trwy dòri y cyfammod cyntaf, fe ddarfu iddo ef, a holl ddynolryw ynddo ef, wywo a marw dan y felldith; ar yr hyn y cymmerodd hollol anffrwythlondeb le, fel nas gallasid dysgwyl un ffrwyth o santeiddrwydd oddiwrthynt hwy. Eithr wedi i'r Adda cyntaf ymrwymo i foddloni y gyfraith, trwy ddwyn y felldith, fe wnaethwyd addewid i'w codi hwynt i fynu drachefn, i rodio mewn newydd-deb buchedd. Ac y mae hyny yn cael ei gyflawni yn eu santeiddrwydd greddfol hwynt, yr hwn sydd yn cael ei weithio ynddynt, yn ddiaros ar eu huniad hwynt â Christ: o herwydd, er fod santeiddhad, yn ol trefn natur y peth, yn canlyn cyfiawnhad, a'r berthynas newydd â Duw, fel cyfaill, a thad, a Duw; etto, o ran amser, y maent yn un, ac ar yr un waith yn cael eu dwyn i ben: yn yr un fynyd ag y mae y pechadur yn gyfiawnhaol, y mae ef hefyd yn santeiddiedig. Eithr nid ydym, hyd y nod pan yr ydym wedi ein santeiddio yn reddfol, trwy i dueddiadau grasol gael eu tywallt i mewn i ni gan yr Ysbryd, yn alluog o honom ein hunain, hyny yw, yn unig oddiar yr ystôr hyny, heb gyfranogiad newydd o

ras gweithgar trwy yr un Ysbryd, i ddwyn un ffrwyth i santeiddrwydd: *nis gallwn ni wneuthur dim*, o honom ein hunain, ie, hyd y nod fel yr ydym yn ddynion newydd, megis y mae ein Iachawdwr yn dangos, Ioan xv. 4, 5. Ac y mae yr apostol yn proffesu yn ei enw ei hun, ac yn enw yr holl bersonau grasol ereill, gan ddywedyd, 2 Cor. iii. 4, 5. "A chyfryw hyder sydd genym trwy Grist ar Dduw: nid o herwydd ein bod yn ddigonol o honom ein hunain, i feddwl dim megis o honom ein hunain; eithr ein digonedd ni sydd o Dduw: canys (medd efe, Phil. ii. 13.) Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da ef." Ac nid yw hyn yn fwy dyeithr yn ngoruchwyliaeth gras, nâg yn ngoruchwyliaeth natur; nis gall hâd bywiog wedi ei hau mewn tir da, dyfu i fynu, a dwyn ffrwyth, heb ddylanwadau ireiddiol a gwresog o'r nefoedd; neu, nas gallwn ni, er fod genym allu i ysgogiad naturiol, symud bys yn weithredol, heb gyffredinol ddylanwad rhagluniaethol Ysbryd Duw, yn, neu trwy yr hwn yr ydym yn byw ac yn symud, Act. xvii. 28. O herwydd paham, y mae yr addewid yn estynedig, megis y dywedasom, i wir ras a grym i bob gweithredoedd o ufudd-dod santaidd; felly, y maent yn cael eu hestyn mewn modd parod ac ewyllysgar i'r credinwyr, yn eu gweithredol a'u gradd-fynedol santeiddhad.

Ac yn y modd hyn, y mae y fath ddigonol ddarpariaeth a chyfran o ras, wedi ei ddarparu yn y cyfammod, i gredinwyr, fel ag y mae yn bosibl iddynt, hyd y nod yn y bywyd hwn, i gyflawni ufudd-dod i gyfraith Crist, y deg gorchymmyn, tragywyddol reol cyfiawnder; yn yr holl ranau o honi, mewn modd derbyniol: felly, nid oes un llygredd mor gryf, fel nas dichon un ei gael ef wedi ei farweiddio mewn modd derbyniol; ac nid yw'r Arglwydd yn gofyn un ddyledswydd

mor anhawdd, fel nas dichon un ei chael hi wedi ei chyflawni mewn modd derbyniol; ac nid oes un brofedigaeth na chystudd mor drwm, fel nas dichon un gael modd i'w dwyn hwynt mewn modd derbyniol. Pe na buasai felly, ni buasai ein Harglwydd yn gosod gwneuthur pa bethau bynag yr oedd efe yn eu gorchymyn yn nod ar ei gyfeillion ef, Ioan xv. 14. Y mae yr apostol yn wir yn gwadu ein digonedd ni o honom ein hunain; eithr y mae ef hefyd yn dangos, fod digonedd i ni o Dduw, 2 Cor. iii. 5. Felly y dysgodd yr Arglwydd ei hun ef, yn ei achos ei hun, 2 Cor. xii. 9. *Digon i ti fy ngras i.* Pe na buasai felly, nis gallasai iau Crist fod yn esmwyth, na'i faich yn ysgafn, Mat. xi. 30. na, hwy a fuasent fel iau a baich y gyfraith, fel cyfammod o weithredoedd, yn orthrwm i'w dwyn, Mat. xxiii. 4. Eithr *ei orchymynion ef nid ydynt drymion,* 1 Ioan v. 3. Nid gwag ymffrost oedd yr apostol yn ei arfer, pan yr oedd yn dywedyd, "Yr wyf yn gallu pob peth trwy Grist, yr hwn sydd yn fy nerthu i," Phil. iv. 13. Ac nid oedd Epaphras allan o le, yn ei waith yn tybied y gallasai y Colossiaid crediniol "sefyll yn gyflawn y'nghwbl o ewyllys Duw," Col. iv. 12. Fe gafodd Dafydd dystiolaeth Duw ei hun, o ran y weithred yn y peth hwn, Act. xiii. 22. "Cefais Dafydd, gwr yn ol fy nghalon, yr hwn a gyflawna fy holl ewyllys."

Nid yw hyn yn dwyn un niwed i'r athrawiaeth o anmherffeithrwydd yn ufudd-dod y saint yn y bywyd hwn, yr hon a amddiffynir gan dduwinyddion uniawn-gred, yn erbyn y Pabyddion a Pherffeitholion ereill; yr hon, megis y mae hi yn gyflawn eglur oddiwrth yr ysgrythyrau santaidd, sydd hefyd â chyflawn dystiolaeth ganddi o'r gwirionedd o hyny, yn mynwes yr oll o'r duwiolion difrifol, i'r rhai y rhoddir modd gan yr Ysbryd, i ganfod santeiddrwydd Duw, ysbrydol-

rwydd y gyfraith, a llygredigaeth eu natur eu hunain. Eithr yr ydwyf yn coelio, fod yr athrawiaeth hon, megis y mae amryw wirioneddau gwerthfawr ereill, trwy gyfrwysdra y diafol, yn faen tramgwydd i amryw, trwy eu diffyg i ddal sylw ar y darpariaeth a'r gyfran o ras a roddwyd yn yr addewid hon o'r cyfammod: a thrwy y moddion hyn, fod llawer pechadur tlawd yn cael ei faglu a'i ddinystrio, a dwylaw amryw o'r saint yn cael eu gwanhau yn yr ymarferiad o santeiddrwydd; er aflwydd mawr i'r achos santaidd yn y byd.

I dòri y fagl hon, ac i osod y mater hwn mewn goleu eglur, y mae tri pheth i gael eu gwahaniaethu yn ofalus.

1. Gwahaniaethu rhwng cyflawni ufudd-dòd yn yr holl ranau o hono, a'i gyflawni ef yn holl raddau y rhanau hyny. Y diweddaf, yn wir, nis gall un dyn, mewn un modd, ei wneuthur yn y bywyd hwn, Iago iii. 2. Preg. vii. 20. Eithr fe ddichon pob gwir gredadyn wneuthur y blaenaf, ïe, ac y mae ef yn ddiau yn eu gwneuthur, mor belled ag y mae y rhanau hyny yn adnabyddus iddo ef; megis yr ymddengys oddiwrth y testunau a goffawyd uchod. Wrth gymmysgu y rhai hyn oll, y mae yno fagl yn cael ei gosod. "Y mae y goreu o ddynion," medd pechaduriaid cyfrwys, "mewn amryw o bethau yn fyr o gyflawni yr ufudd-dód a ofynir ganddynt; ac nid ydym ninnau ond gwneuthur felly." Yn awr, y mae yn wir, fod y saint yn fyr o gyflawni y graddau o bob rhan o'r ufudd-dod a ofynir ganddynt: eithr nid yw yn wir eu bod yn fyr o gyflawni un o'r rhanau eu hunain, ag y sydd yn adnabyddus iddynt, yr hyn yw dadl y pechadur cyfrwys, gan geisio achlesu ei hun yma am ei bechod. Ac yn hyn y mae y rhai blaenaf yn gwahaniaethu eu hunain mewn modd gwirioneddol oddiwrth y rhai olaf; megis y dangosodd

Dafydd ei hun o wneuthuriad gwahanol i Saul, trwy ei waith yn cyflawni holl ewyllys Duw yn yr amrywiol ranau o hono, yr hyn nis gwnaeth Saul, Act. xiii. 22. Y mae hyn, yr un fath ag y mae yn achos teulu y byddo ynddo blant ufudd, a gweision cyndyn. Y mae y pen-teulu yn penodi amryw ranau o waith, i gael ei wneuthur gan y teulu oll: ac y mae ei blant ef, sydd wedi dyfod i'w maintioli, ac yn meddu perffaith fedruswydd yn eu galwad, yn eu gwneuthur oll yn berffaith, yn ol ei feddwl ef; ac yn y modd hyn y mae y saint a ogoneddwyd yn ufuddhau; y mae y plant sydd iau, y rhai nid y'nt ond yn dysgu gweithio, o barch i orchymyn eu Tad, yn ymosod at bob un o honynt, eithr nis gallant wneuthur un o honynt yn gywir; yn yr un modd a hyny y mae y saint sydd ar y ddaear. Y mae y gweision cyndyn yn gosod llaw wrth rai o honynt, eithr yn hollol esgeuluso ereill o honynt: a hyn yw dull y gwas drwg a diog, yr hwn sydd yn ceisio esgusodi ei hun, trwy hyn, am ei ddiogi, a'i wyrni mewn ufudd-dod.

2. Gwahaniaethu rhwng cyflawni ufudd-dod yn berffaith, a'i gyflawni ef yn dderbyniol. Nis gall un dyn gyflawni ufudd-dod yn berffaith yn y bywyd hwn, Phil. iii. 12. Eithr y mae pob gwir gredadyn yn cyflawni ufudd-dod yn dderbyniol, Act. x. 35. "Y neb sydd yn ei ofni ef, ac yn gweithredu cyfiawnder, sydd gymmeradwy ganddo ef." Mewn cymmysgu y rhai hyn, y mae magl. Y mae y pechadur cyfrwys yn dywedyd, "Nid oes neb yn cyflawni ufudd-dod yn berffaith: ac yr ydwyf yn sicr fy mod i yn gwneuthur llawer o bethau, er yn wir nid y cwbl." Yn awr, y mae yn hollol wirionedd, nad yw y gwir gredinwyr yn cyflawni ufudd-dod yn berffaith: eithr nid yw yn wirionedd, nad ydynt yn ei gyflawni ef yn dderbyniol, yr hyn yw dadl y pechadur cyfrwys, trwy

beidio ei gyflawni ef yn gyffredinol, ac am hyny heb fod yn gywir yn ei ufudd-dod. Fe ŵyr y rhai sydd feistraid, yn hollol dda, pa fodd i wneuthur y gwahaniaeth hwn, yn eu goruchwylion teuluaidd. Os bydd plentyn neu was ufudd, yn dangos gwirioneddol ddymuniad i ufuddhau i'w gorchymynion hwynt; hwy a dderbyniant eu gwaith hwynt, er nad yw ef wedi ei wneuthur y'mhob pwnc yn ol eu dymuniad hwynt: felly, *os bydd parodrwydd meddwl* yn cael ei ddangos mewn ymegniadau diragrith, y mae yn cael ei dderbyn gan Dduw, er mwyn Crist, *yn ol yr hyn sydd gan un,* 2 Cor. viii. 12. Eithr os gwna gwas gyflawn esgeuluso gosod ei law wrth beth, yr hwn y cafodd efe orchymyn pendant i'w wneuthur, am nas gall efe ei wneuthur y'mhob modd fel y dymynai y meistr ei gael ef; y mae hyn yn cael ei esponio yn ddiystyrwch o awdurdod y meistr. A pha gyfrif arall a all dynion ddychymygu a wneir yn y nef o'u hymddygiad, mewn perthynas i ddyledswyddau amlwg a diamheuol, y darfu iddynt eu hesgeuluso, a phechodau y darfu iddynt foddhau eu hunain ynddynt?

3. Gwahaniaethu rhwng gallu ynom ein hunain i gyflawni ufudd-dod yn dderbyniol yn yr holl ranau o hono, a gallu i hyny yn Nghrist, i'w gyrchu trwy ffydd. Ni fedd na saint na phechaduriaid y blaenaf, 2 Cor. iii. 5. eithr y mae yr holl wir gredinwyr yn meddu yr olaf; y mae ganddynt y cyfryw allu yn Nghrist eu pen. Col. ii. 10. "Ac yr ydych chwi wedi eich cyflawni ynddo ef." Phil. iv. 13. "Yr wyf yn gallu pob peth trwy Grist, yr hwn sydd yn fy nerthu i." Ac y mae ef yn cael ei gynnyg yn yr efengyl i bawb, fel y gallo y neb a fyno ei gael ef, Mat. xi. 28, 29. "Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch. Cymmerwch fy iau arnoch." Os bydd meistr synwyrol yn gorchymyn i'w was fyned a gwneuthur rhan bennodol o waith,

nid yw bod y gwas heb offerynau angenrheidiol i hyny, yn esgusodi ei waith ef yn esgeuluso y gorchwyl; o herwydd efe a gyfrif, fod ei orchymyn ef am iddo wneuthur y gwaith, yn cynnwys ei fod ef yn caniatâu offerynau iddo, heb yr hyn nis gallasai y gorchwyl gael ei wneuthur; ac y dylasai y gwas ofyn am danynt. Eithr y mae magl dinystriol i amryw yn gorwedd yma, "Nis gallwn ni wneuthur dim o honom ein hunain," meddant hwy: ac oddiar hyn y mae y diog yn gosod ei law yn ei fynwes, ac yn peidio a gwneuthur dim; eithr wedi y gosodo efe ei ben ar ei obenydd esmwyth, y mae yn cysgu i farwolaeth ar y gwely o ddiogi ac esmwythder cnawdol. O na agorai dynion eu llygaid, a gweled trwy y rhan hyn o dwyll dinystriol! Ni bydd un dyn yn gallu esgusodi ei hun trwy hyn, oddiwrth y cyflawniad o ufudd-dod santaidd yn yr holl ranau o hono. Na, fe wna yr ymddygiad hwn o'i eiddo, ei ddwyn ef dan euogrwydd dau-ddyblyg; un, o esgeuluso yr hyn yr oedd yn ddyledswydd arno ei wneuthur; a'r llall, o ddiystyru y gras a gynnygwyd iddo, i'w alluogi ef i hyny: ac felly efe a euog-fernir, nid o herwydd nas gallasai ufuddhau, eithr o herwydd nas mynai. Ni fu Duw erioed yn feistr caled i ddynolryw, *yn medi lle nis hauodd;* eithr efe a roddodd bob amser gyfran gyfaddas o ras a grym iddynt at ei waith. Yn y cyfammod gweithredoedd, nis gallasai dim ond ufudd-dod perffaith gael ei dderbyn oddiar law pobl y cyfammod, ac yr oedd cyfran o ras a grym wedi ei osod iddynt yn y cyfammod. Fe wnaeth Duw ddyn yn uniawn, yn alluog i ufuddhau i'r gyfraith yn berffaith. Ac y mae y gyfraith, mewn modd cyfiawn, yn hòni am berffeithrwydd mewn ufudd-dod o hyd, ar sail y ddarpariaeth hono a wnaethwyd i'r dyben hyny, er ei fod yn awr wedi ei golli; gan ei fod wedi ei golli trwy fai y dyn ei hun. Yn y cyfammod gras, yr

hwn sydd wedi ei addasu at ein sefyllfa syrthiedig ni, fe all ufudd-dod diragrith gael ei dderbyn, er yr anmherffeithrwydd sydd yn perthyn iddo. Yn ganlynol, y mae wedi ei ddarparu ynddo y fath gyfran o ddigonolrwydd o ras a grym, fel trwy hyny y gall pob rhan o ufudd-dod a ofynir oddiwrth bobl y cyfammod gael ei wneuthur, ie, yn y bywyd hwn; er nad fel y dylai gael ei wneuthur, etto fel y gall ef fod yn dderbyniol: derbyniol, meddaf, nid er ei fwyn ei hun yn wir, nac er mwyn y gweithiwr ychwaith, eithr er mwyn Crist; yn enw yr hwn y gorchymynir iddo gael ei wneuthur a'i gyflwyno i Dduw, megis "aberth ysbrydol, cymmeradwy gan Dduw trwy Iesu Grist," 1 Pedr ii. 5. Y mae hyn yn amlwg oddiwrth y testunau a goffawyd o'r blaen, 2 Cor. iii. 5. a'r xii. 9. Phil. iv. 13. Eithr er hyn, nid yw y digonolrwydd hwn o ras a grym i'r dyben hyny, yn llettya y'mhobl y cyfammod eu hunain, eithr yn Nghrist eu pen hwynt, yn yr hwn y maent hwy yn ei gael ef, megis y mae y cangenau yn cael digonedd o sudd a nodd yn y winwydden, i'r dyben iddynt ddwyn ffrwyth yn y tymmor. Esay xlv. 24. "Yn ddiau yn yr Arglwydd (medd un) y mae i mi gyfiawnder a nerth." 2 Tim. ii. 1. "Tydi gan hyny, fy mab, ymnertha yn y gras sydd yn Nghrist Iesu." Ac y mae ef yn cael ei ddwyn i'r enaid trwy ffydd, yn credu yr addewid, Jer. xvii. 7, 8. "Bendigedig yw y gwr a ymddiriedo yn yr Arglwydd; canys efe a fydd megis pren wedi ei blanu wrth y dyfroedd." Psal. xxviii. 7. "Ynddo ef yr ymddiriedodd fy nghalon, a myfi a gynnorthwywyd." Ac felly y mae pob gorchymyn o'r eiddo Crist, yn y cyfammod hwn, yn cynnwys yn ganiatâol, ddigonol gyfran o ras a grym, er y cyflawniad o hono mewn modd derbyniol. Yn gyfatebol i hyn y mae y cyhoeddiad o ras yn sefyll o'r tu blaen i'r deg gorchymyn, Exod. xx. 2, 3. "Myfi

yw yr Arglwydd dy Dduw—na fydded i ti dduwiau ereill ger fy mron i," &c. Pe buasai y gyfraith yn dyfod atom ni heb yr efengyl, fe allasai fod genym beth esgus am beidio gwneuthur yr hyn a orchymynir i ni; etto, nid mor gadarn fel na buasai yn cael ei ddymchwelyd, megis yn achos y Paganiaid, Rhuf. ii. 12. Eithr gan fod, gydâ gorchymynion y gyfraith yn gofyn ufudd-dod, yr efengyl hefyd yn dyfod atom, gan ddangos pa fodd y gallwn gael ein gallnogi i ufuddhau iddynt yn dderbyniol, ac yn cynnyg y gallu hyny i ni yn Nghrist Iesu, yr ydym yn ddiesgus yn y mater hwnw; y mae dadl y gwas drwg a diog yn cael ei gwrthod, ac yntau yn cael ei euog-farnu, nid yn unig am beidio rhoddi ufudd-dod, eithr hefyd am wrthod y gras a'r grym a gynnygwyd iddo i'w alluogi ef i hyny. O herwydd paham, credwn yn ddianwadal yr addewid hon o eiddo cyfammod yr efengyl, fel y byddo i ni roddi ufudd-dod i orchymynion y gyfraith. O herwydd lle nid oes un gobaith am gyflawni yn dderbyniol yr hyn a orchymynir, nis gall fod ymegniadau cyfaddas am hyny. Os yw y galon yn ddiobaith yn y mater hwnw, fe laesa y dwylaw: a'r canlyniad a raid fod, yw, un ai gadael y ddyledswydd yn hollol, neu ynte gyflawniad tra egwan o honi, mewn modd annerbyniol gydâ Duw. Eithr fe wna credu yr addewid hon symud y gorchudd o ddiogi, a bywhau i bob gwaith da, a dwyn i mewn ras a grym i bob ufudd-dod santaidd. "Am hyny gan fod genym yr addewidion hyn, anwylyd, ymlanhawn oddiwrth bob halogrwydd cnawd ac ysbryd, gan berffeithio santeiddrwydd yn ofn Duw." 2 Cor. vii. 1.

Gan na roddodd Duw i'r eglwys y gorchymyn o santeiddiad i ufuddhau iddo, heb yr addewid o santeiddiad i'w chredu; (eithr efe yr hwn a ddywedodd, *Ymolchwch, ymlanhewch;* a ddywedodd hefyd, *Ac a daenellaf arnoch ddwfr glan, fel*

*y byddoch lan:)* nid oes gan un dyn sail i ddychymygu, ei fod ef gymmaint ag yn ymegnio i gydsynio â gwir ddyben y gorchymyn o santeiddiad, tra nad yw ef yn gyntaf yn credu ac yn cofleidio yr addewid o santeiddiad; eithr yn myned y'nghyd a gweithio â'r nitr a'r sebon o'i ymegniadau diffydd ei hun, i olchi ei hun, yn lân. Y mae y cyfryw un yn camsynied dyben a chynnwysiad y gorchymyn o santeiddiad, megis y mae ef yn bod yn ei Fibl ef; a hyny, mor bell ag y byddai i orchymyn meistr synwyrol gael ei gamsynied gan was ffol, yr hwn, wedi gorchymyn iddo fyned a chloddio rhan o dir, a âi oddiar hyny y'nghyd a'i gloddio ef â'i ewinedd, heb edrych am bâl, na chaib, nac un offeryn arall addas i gloddio ag ef.

Yn awr, y mae yr addewid o santeiddhad, yn nghyd â'i hamrywiol gangenau, wedi ei himpio yn yr addewid o adgyfodiad, a wnaethwyd i Grist. O herwydd wedi i ammod y cyfammod gael ei chyflawni, fe ddarfu iddo ef, fel y pen, yn ol yr addewid, gael ei ddwyn drachefn oddiwrth y meirw, ac y mae yn byw i Dduw, ac ni theyrnasa marwolaeth arno ef mwyach: a thrwy rhinwedd hyn yma, y mae ei aelodau ef yn cael eu dwyn i edifeirwch, oddiwrth weithredoedd meirwon, ac i newydd-deb buchedd. Oddiyma y dywedir ein bod wedi ein "hadgenedlu i obaith bywiol, trwy adgyfodiad Iesu Grist oddiwrth y meirw," 1 Ped. i. 3. megis yr ydym wedi *cyd-gyfodi gydag ef* (Col. iii. 1.) *i newydd-deb buchedd* (Rhuf. vi. 4, 5.) yn ol yr addewid, Esay xxvi. 12. "Dy feirw a fyddant byw, fel fy ngorph i yr adgyfodant—a'r ddaear a fwrw y meirw allan;" sef, yn y lle cyntaf, y pen, Crist Iesu, "y cyntaf-anedig oddiwrth y meirw," Col. i. 18. ac yna, ei aelodau cyfriniol ef yn ol eu trefn. Cymharwch Hos. vi. 2. "A'r trydydd dydd y cyfyd ni i fynu, a byddwn fyw ger ei fron ef."

Hyd yma am yr addewid o santeiddhad. Fe ganlyn yn,

IV. Yr addewid o barhad mewn gras.

Y mae yr addewid o fywyd tragywyddol, yn yr un modd, yn cynnwys yr addewid o barhad mewn gras, i gael ei roddi i holl bobl y cyfammod, wedi iddynt gael eu cyfiawnhau, a'u dwyn i berthynas newydd â Duw, a'u gwneuthur yn gyfranog o santeiddrwydd; felly, fel, ar ol iddynt gael eu dwyn unwaith i gyflwr o ras, nis cânt byth syrthio o hono ef yn gyfan-gwbl mac yn ddiadferiad. Yr ydym yn cael yr addewid hon yn Jer. xxxii. 40. "A mi a wnaf â hwynt gyfammod tragywyddol, na throäf oddiwrthynt, heb wneuthur lles iddynt; a mi a osodaf fy ofn yn eu calonau, fel na chiliont oddiwrthyf." Yma y maent wedi eu sicrhau ar bob tu; fel na wna Duw byth ei bwrw hwynt ymaith, ac fel nas cânt hwythau byth encilio oddiwrtho yntau. Ac y mae yn amlwg fod y gymmwynas hon yn gynnwysedig yn yr addewid o fywyd tragywyddol, oddiwrth waith yr apostol yn dwyn i mewn y rhan ddiweddaf hon i brofi hyny, Heb. x. 38. "A'r cyfiawn a fydd byw trwy ffydd." Y mae cenfigen Satan, a'r fantais sydd ganddo yn erbyn y saint yn y bywyd hwn, o'r fath natur; y mae y maglau mor aml iddynt yn y byd drwg presenol; ac y mae y gras planedig o'r nef gan Dduw ynddynt, y fath impyn tyner; ac mor llygredig, anwadal, ac ansefydlog, yw calonau y rhai goreu, tra y maent yma; fel, pe na buasai eu parhad wedi ei sicrhau trwy addewid, yn y cyfammod, eithr wedi ei wneuthur yn ammod y cyfammod, a'i adael i driniad eu hewyllys-rydd hwynt, ni buasai iddynt onda adferiad gwael i gyflwr o ras; yn agos yr un fath a phe buasai ganddynt wreichionen o dân i'w chadw yn nyn y'nghanol y cefnfor. Yn ol y dull hyn, hwy a allasent drengu i gyd: a Iesu Grist, er iddo dywallt ei waed drostynt hwy,

fod yn dragywyddol, yn ben heb aelodau, yn frenin heb ddeiliaid. Eithr nis gadawyd gogoniant Crist, a iachawdwriaeth ei rai prynedig, ar y fath anwadalwch. Y parhad hwnw, yr hwn y methodd yr Adda cyntaf ynddo, yr hwn a wnaethwyd yn ammod yr ail gyfammod; yr ymrwymodd yr ail Adda iddo, yn eu henw hwynt: ac oddiar hyny y gwnaethwyd yr addewid o'u parhad hwynt. Ac wedi iddo ef yn gyfatebol i hyny, barhau hyd y diwedd mewn ufudd-dod i'r gyfraith drostynt hwy, *gan fod yn ufudd hyd angeu*, fe brynwyd parhad iddynt hwy. Yn y modd hyn, y mae parhad Crist, mewn ufudd-dod i'r gyfraith, hyd oni ddaffu i ammod y cyfammod gael ei pherffaith gyflawni, yn sylfaen, yn ol y gyfraith, ar yr hon y mae parhad y saint yn cael ei sicrhau yn ddifeth, trwy rinwedd ffyddlondeb Duw yn yr addewid.

Yn awr, y mae yr addewid hon yn dechreu cael ei chyflawni iddynt hwy mor gynted ag y maent yn cael eu huno â Christ; ac y mae hi yn myned yn y blaen hyd eu marwolaeth hwynt, a'u mynediad i ogoniant: ïe, a llafaru yn gaeth, nid marwolaeth yw y tymmor olaf, eithr y canol o'u parhad; ar ol yr hwn y mae ef yn myned yn y blaen yn fwy ardderchog nâg o'r blaen. Ar eu gwaith yn cael eu huno â Christ, gan fod yn achubol gyfranog yn ei ufudd-dod ef, yr hwn y parhaodd efe ynddo hyd y diwedd, y maent wedi eu sefydlu, fel nas gallant mwy syrthio ymaith: yn yr un modd ag y buasai hâd naturiol yr Adda cyntaf yn cael ei sefydlu, ar ei waith ef yn cwblhau yr yrfa o'i brofedigol ufudd-dod, ac yn cyflawni ammod y cyfammod gweithredoedd. Y mae aelodau cyfriniol Crist gan hyny yn cael y blaenaf, megis gwobr ei ufudd-dod parhaol ef; megis yn y tybosodiad ganlyniad arall, y buasai hâd naturiol Adda yn cael yr olaf, megis gwobr ei ufudd-dod parhaol yntau.

Y mae yr addewid o barhad y saint, yn debygol o fod wedi ei himpio yn yr addewid o gynnorthwy yn ei waith, a wnaethwyd i Grist. Fe addawodd y Tad iddo ef, y byddai iddo ei gynnal ef, fel *na phallai efe,* Esay xlii. 1, 4. Yr hon addewid wedi ei gwneuthur iddo ef fel person cyhoedd, sydd yn dwyn gydâ hi gadwedigaeth a chynnaliaeth ei aelodau ef, yn eu holl lithriadau, profedigaethau, a'u peryglon o drengu; gan sicrhau diogel dywysiad yr aelodau cyfriniol, yn gyntal a'r pen, trwy'r byd hwn, hyd oni byddont allan o gyrhaedd perygl.

Yn awr y mae dwy brif gangen i'r addewid o barhad.

1. Yr addewid o ddylanwadau estynedig o râs, i gael eu anrhegu arnynt hwy o amser i amser, wedi iddynt un waith gael eu dwyn i gyflwr o ras, Esay xxvii. 1. "Ar bob moment y dyfrhaf hi." Fe ddarfyddai eu ystôr hwynt o reddfol ras yn fuan, pe byddai iddynt gael eu gadael i fyw arno, heb gynnorthwy yn dyfod i mewn o law arall; o hono ei hun fe wywai ac a fyddai farw, pe nas diwallid ef, Luc xxii. 32. Ioan xv. 6. Yr oedd gan Addu yn ei sefyllfa o ddiniweidrwydd helaethach ystôr o reddfol ras na neb o'r saint yn y bywyd hwn; ac etto efe a'i collodd ef. Eithr nis gall gras Duw yn y credinwyr gael ei golli; o herwydd, trwy rinwedd yr addewid, y mae dylanwadau parhaol wedi eu sicrhau iddynt hwy: sef, dylanwadau yn diogelu, trwy yr hyn y mae y gras a roddwyd yn cael ei gadw rhag marw, fel megis ag y maent wedi eu *santeiddio gan Dduw Dad,* felly y maent yn cael eu cadw *yn Iesu Grist,* Jud. i. dylanwadau cynhyrfiol, trwy yr hyn y mae y gras a ddiogelwyd, (yr hwn sydd yn dechreu llesghau, neu gael ei ddwyn yn isel, trwy waith llygredd yn hudo ac yn llwyddo) yn cael ei gyffroi

a'i osod ar waith drachefn: a dylanwadau cryfhaol, trwy yr hyn y mae y gras a gynhyrfwyd yn cynhyddu, ac yn casglu mwy o rym, i orchfygu llygredd, a gwrthdaro yr hudoliaeth, Hos. xiv. 7. "Adfywiant fel ŷd, blodeuant hefyd fel y winwydden." Yn ganlynol, nid yw eu ffydd byth yn cael ei goddef i fethu yn hollol, eithr y mae hi yn cael ei diogelu, ei chynhyrfu, a'i chryfhau, a phob grasusau eraill gydâ hi, a thrwyddi hi. Ac y mae hyn yn cael ei ddwyn oddiamgylch, trwy y cyfranogiad o gynnorthwyon newydd o ras iddynt hwy, trwy yr Ysbryd, o Grist eu pen, "o'r hwn y mae yr holl gorff yn derbyn lluniaeth, (sef, *trwy gynnorthwy yr Ysbryd*, Phil. i. 19.) yn cynnyddu gan gynnydd Duw," Col. ii. 19.

2. Y brif gangen arall o'r addewid hon, yw yr addewid o faddeuant, maddeuant parhaus, o bechodau eu beunyddiol rodiad; trwy yr hyn y mae yr anghytundeb sydd yn cyfodi rhwng Duw â hwynt i gael ei ddileu o amser i amser, fel y mae hollol rwygiad yn cael ei ragflaenu, Jer. xxxiii. 8. "Mi a faddeuaf iddynt eu holl bechodau." Etto, nid oes angen i'r cyfiawnion, o ran eu cyflwr, gael un maddeuant newydd o ran y ffurfioesol, eithr yn unig cael amlygiad o'u maddeuant blaenorol; gan nad yw y maddeuant a roddwyd iddynt mewn cyfiawnhad, byth yn cael ei alw yn ol, er y gallant hwy trwy eu pechodau canlynol golli eu golwg arno: etto, o ran eu rhodiad beunyddiol, y mae arnynt fawr angen maddeuant rheolaidd, gan eu bod yn feunyddiol yn tynu arnynt euogrwydd newydd, Ioan xiii. 10. "Yr hwn a olchwyd, nid rhaid iddo ond golchi ei draed." O herwydd, er nas gall un pechod o eiddo y rhai cyfiawnhaol eu dwyn hwynt byth mwy dan euogrwydd tragywyddol lid, etto y maent yn eu dwyn dan euogrwydd anfoddlonrwydd tadol, Psal. lxxxix. 30, 31, 32. Gan hyny y mae yn angen-

rheidiol iddynt weddio bob dydd, *Ein tad, maddeu i ni ein dyledion.*

Y mae y maddeuant hwn yn cael ei roddi iddynt oddiar weithrediadau adnewyddol o ffydd yn Iesu Grist, ac edifeirwch tuag at Dduw: etto nid am eu credu a'u hedifarhau; eithr er mwyn Crist, yn yr un modd ag y mae y maddeuant cyntaf yn cael ei roddi, 1 Ioan ii. 1, 2. a'r i. 7. Trwy gymhwyso gwaed Crist o newydd at eu heneidiau, y maent yn cael eu cyffroi o newydd i edifeirwch, gan droi oddiwrth eu pechodau, gyda chasineb atynt, a thristwch, cywilydd, a hunan-ffieiddiad o'u herwydd. Gan edrych trwy ffydd arno ef yr hwn a wanasant, y maent yn galaru mewn adnewyddol edifeirwch; ac felly yn derbyn y maddeuant hwn. O herwydd, er nad yw edifeirwch yn myned o flaen, eithr yn canlyn ar ol maddeuant pechod mewn cyfiawnhad; etto y mae, nid yn unig ffydd, ond edifeirwch hefyd, yn myned o flaen y maddeuant a roddir i'r rhai sydd wedi eu cyfiawnhau o'r blaen, 1 Ioan i. 7, 9. "Os rhodiwn yn y goleuni, megis y mae efe yn y goleuni, y mae i ni gymdeithas â'n gilydd, a gwaed Iesu Grist ei Fab ef, sydd yn ein glanhâu ni oddiwrth bob pechod. Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlon yw efe a chyfiawn, fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac y'n glanhao." Am hyny, fe orchymynir i ni weddio fel hyn, "Ein Tad,—maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ninnau i'n dyledwyr," Mat. vi. 9, 12. i ddysgu i holl blant Duw, os mynent hwy gael maddeuant eu Tad, fod yn rhaid iddynt yn y lle cyntaf faddeu i ereill; yr hyn sydd etto yn cael ei arwyddo yn eglurach, Luc xi. 4. "A maddeu i ni ein pechodau: canys yr ydym ninnau yn maddeu i bawb sydd yn ein dyled." Eithr nid yw y mater yn cael ei osod felly, mewn perthynas i faddeuant pechod mewn cyfiawnhad; ond y maddeuant hwnw yw ffynhonell ein maddeuant ni i

eraill, Mat. xviii. 32, 33. O herwydd y mae ein diffuant a'n cymmeradwy faddeuant i eraill, yn tarddu oddiwrth wir gariad crist'nogol at ein cymmydog; ac y mae hyny yn dylifo o gariad at Dduw; yr hwn sydd yn cael ei enyn yn ein calonau trwy faddeuol ras Duw i ni, Luc vii. 47. Eph. iv. 32. Y mae y rheswm o'r gwahaniaeth hyn yn gorwedd yma. Y mae y pechadur anghyfiawnhaol yn gorwedd dan euogrwydd dialeddol lid, yr hwn nid yw yn ceisio gwellhad, ond dinystr yr euog: o herwydd paham, hyd oni byddo iddo un waith gael ei symud, nis gall fod un gwir efengylaidd edifeirwch, nac un derbyniol wellhad, yn y pechadur; y mae y rhai hyn yn ddiau yn adferiad arno ef i fywyd, ac yn anghydweddus â deddfol luniaethiad o hono ef i ddinystr. Eithr nid yw y saint cyfiawnhaol ond yn unig dan euogrwydd anfoddlonrwydd tadol, yr hwn nid yw yn ceisio dinystr, ond adferiad a gwellhad yr euog; ac am hyny nid yw yn cael ei symud hyd oni byddo iddo edifarhau, a throi oddiwrth bechod at Dduw mewn modd derbyniol; a hyny yw yr unig adgyweiriad y mae Duw yn ei geisio yn ei waith yn dangos ei anfoddlonrwydd tuag ato ef, megis yn achos Dafydd â Phedr.

Ac yn y modd hyn yr ydys yn peri i'r saint barhau mewn gras, yn wirioneddol ac yn berthynasol. Y mae yr addewid o ddylanwadau parhaol yn sicrhau, nid yn unig cadwriaeth, eithr yr adnewyddol ymarferiad o'u gras hwynt, yn enwedigol eu ffydd a'u hedifeirwch hwynt; ac y mae yr addewid o faddeuant parhaol iddynt hwy, trwy gredu ac edifarhau, yn sicrhau symudiad yr euogrwydd o'r anfoddlonrwydd tadol. Y mae Ysbryd Crist yn preswylio bob amser ynddynt hwy, ac felly y mae ysgrif-rwym ddihalog o'u hundeb âg ef yn parhau: a thrwy breswylio ynddynt, y mae efe yn eu cyfodi hwynt ar ol iddynt syrthio, yn cyffroi y tân

santaidd o ras sydd wedi ei guddio dan ludw llygredigaeth. Pan y byddo llaw wywedig ffydd yn cael ei hestyn allan drachefn; a'r dyn yn credu y maddeuant o'r euogrwydd, a'r tragywyddol lid, am ei holl bechodau: y mae hyn yn toddi ei galon ef mewn mwyn edifeirwch: ac felly y mae efe yn credu yr addewid o faddeuant parhaol, o ran yr anfoddlonrwydd tadol, mewn perthynas i'r pechodau sydd yn achos o'r amrafael presenol rhwng Duw âg ef; ac y mae efe yn cael maddeuant yn gyfatebol i hyny. Trwy y moddion hyn, y mae pethau yn cael eu cadw rhag dyfod i hollol rwygiad.

V. Yr addewid o gymmwynasau tymhorol.

Yn y pummed a'r lle diweddaf, y mae yr addewid o fywyd tragywyddol i'r etholedigion, wrth ei hystyried yn yr yspaid hwn, yn cynnwys yr addewid o gymmwynasau tymhorol i gael eu rhoddi iddynt hwy, ac i bob un o honynt, wedi eu huno â Christ; a hyny yn ol y mesurau a welo Duw yn weddus i'w ogoniant ef a'u lleshad hwythau. Y mae yr addewid hon wedi ei chorffori gydâ'r addewidion ysbrydol yn y cyfammod. Ezec. xxxvi. 29. "Achubaf chwi hefyd oddiwrth eich holl aflendid; a galwaf am yr ŷd, ac a'i hamlhaf." Hos. ii. 22. "A'r ddaear a wrendy ar yr ŷd, a'r gwin, a'r olew; a hwythau a wrandawant ar Jezreel." Yn wir nid hwn yw y prif beth a gynnwysir yn y rhan addewidiol o'r cyfammod: eithr y mae ef yn chwanegiad angenrheidiol at hyny; megis y mae sefyllfa bresenol y saint, tra y maent yn y byd hwn, yn gofyn, Mat. vi. 33. Ac felly y mae duwioldeb megis y mae yr apostol yn sylwi, 1 Tim. iv. 8. "A chanddi addewid o'r bywyd y sydd yr awr hon, ac o'r hwn a fydd."

Pan y cymmerodd Duw ddyn i'r cyfammod cyntaf, efe a ddarparodd ynddo ar gyfer ei ddedwyddwch tymhorol ef, yn gystal a'i ddedT 3

wyddwch ysbrydol a thragywyddol ef. Efe a roddodd iddo hawl i, a llywodraeth ar greaduriaid y ddaear, y môr, a'r awyr; gan roddi a chaniatâu iddo gyflawn awdurdod i'w defnyddio hwynt mewn modd cymmedrol, a'u trefnu hwynt er gogoniant Duw, a'i gysur ei hun: a'r arglwyddiaeth hon i gael ei meddu ganddo ef, fel penarglwydd arnynt oll, yn gadarn a diwrthdroad, yn ol ystyr y cyfammod, cyhyd ag y byddai iddo barhau yn ei ufudd-dod; eithr i gael ei fforffedu y'mhob bwriad ac amcan, os byddai iddo ef trwy droseddu dori y cyfammod, Gen. i. 28. a'r ii. 16, 17. Eithr nid arosodd dyn yn yr anrhydedd hwn. Efe a dorodd gyfammod Duw, ac felly efe a syrthiodd o'i hawl i, a'i arglwyddiaeth dros y creaduriaid. Trwy ei drosedd efe a fforffedodd ei fywyd ei hun; ac yn ganlynol efe a gollodd ei hawl gyfammodol i holl gyfryngau a chysuron bywyd. Ac yn y cyflwr hwn y mae yr holl ddynion anianol, mewn perthynas i'r pethau hyn. Nid oes ganddynt un hawl gyfammodol i gyfryngau a chysuron bywyd, pa faint bynag o honynt sydd yn eu meddiant. Yr holl hawl sydd ganddynt iddynt, yw hawl ragluniaethol ansicr yn unig; yr un fath ag a fedd y dyn collfarnedig i'w ymborth, dros yr amser y byddo ei ddibenyddiad yn cael ei oedi yn ol ewyllys y tywysog. Y mae hyn y meddiant mwyaf ansicr ac anghysurus: er hyny y mae ef yn lleshau mor bell, fel nad ydynt, a llafaru mewn modd priodol, yn feddianwyr treisiol, o gymmwynasau tymhorol; gan fod ganddynt yr un fath hawl iddynt hwy, ag y sydd i'w bywyd fforffedol, tra y mae yn cael ei adael iddynt trwy drefniad rhagluniaeth. Am hyny fe all y gwaethaf o ddynion mewn modd cyfreithlon fwyta ac yfed, a mwynhau y lleshad o holl angenrhaid bywyd, pa beth bynag a ddichon i satan sibrwd i'r gwrthwyneb yn awr yr hudoliaeth: ie, hwy a ddylent,

wneuthur hyny, ac y maent yn pechu yn erbyn Duw yn dra amlwg, os na wnant hyny; o herwydd efe a ddywedodd, *Na ladd.*

Eithr trwy i'r ail Adda ymrwymo i dderbyn y felldith, a rhoddi perffaith ufudd-dod i'r gyfraith, yn enw ei had ysbrydol, fe wnaethwyd addewid o adferyd iddynt hwy y bywyd fforffedol, y'nghyd a'i holl gyfryngau; ac yn bennodol, addewid o'r pethau da sydd yn angenrheidiol er cynnaliaeth a chysur eu bywyd tymhorol yn y byd hwn, hyd oni byddai iddynt yn angeu gael eu dwyn adref i'r nef. Ac y mae y cyflawniad o'r addewid hon iddynt hwy, yn dechreu yn ddiatreg ar eu gwaith yn cael eu huno â Christ: y pryd hyny pan y caer fod eu perthynas gyfammodol â'r Adda cyntaf yn cael ei dattod yn gyfreithlon; y mae y fforffediad yn cael ei dynu ymaith, ac y mae hawl gyfammodol newydd i'r creadur yn cael ei rhoddi iddynt, 1 Cor. iii. 22, 23. "Y mae pob peth yn eiddo chwi, a chwithau yn eiddo Crist." Ac y mae hi yn myned yn y blaen hyd angeu; y mae cymmaint o'r golud hwn o'u heiddo yn cael ei osod yn eu dwylaw o bryd i bryd, ac y mae y Gweinyddwr mawr yn ei weled yn angenrheidiol iddynt. A pha un bynag, ai ychydig ai llawer a fyddo, y maent o'r munud hwnw allan, yn ei feddianu ef trwy hawl newydd: y mae ef yn eiddo iddynt trwy gyfammod.

Yn awr, y mae yr addewid hon wedi ei himpio yn yr addewid a wnaethwyd i Grist, o iddo gael etifeddu pob peth. O herwydd, y mae y rhai sydd yn eiddo ef, yn gyd-etifeddion âg ef, Rhuf. viii. 17. i etifeddu pob peth hefyd trwyddo ef, Dat. xxi. 7. Fe ddarfu i'r etifeddiaeth a'r anrhydedd, a gollodd yr Adda cyntaf, iddo ei hun a'i deulu, trwy ei anufudd-dod yn ei waith yn tori y cyfammod cyntaf, gael, yn yr ail gyfammod, ei gosod mewn addewid i Grist, yr ail Adda, iddo ef a'i eiddo, ar yr ammod o'i ufudd-dod ef. Wedi i'r

ufudd-dod hwn gael ei gyflawnu, fe ddarfu i holl hen etifeddiaeth y teulu gael eu hadennill, y'nghyd a'r anrhydedd oedd yn perthyn iddi. Fe ddarfu i'r hen arglwyddiaeth gael ei hadferyd yn mherson Crist, fel ail Adda; ac y mae ei holl aelodau cyfriniol ef yn cyfranogi o hyny ynddo ef. Hyn y mae y Psalmydd yn ei ddysgu, Psal. viii. 4—9. "Pa beth yw dyn, i ti i'w gofio? a mab dyn, i ti ymweled âg ef? Canys gwnaethost ef ychydig is na'r angelion, ac a'i coronaist ef â gogoniant ac â anrhydedd. Gwnaethost iddo arglwyddiaethu ar weithredoedd dy ddwylaw; gosodaist bob peth dan ei draed ef: defaid ac ychain oll, ac anifeiliaid y maes hefyd; ehediaid y nefoedd; a physgod y môr, ac y sydd yn tramwyo llwybrau y moroedd." Er fod yma gyfeirio amlwg at yr Adda cyntaf, a holl ddynolryw ynddo ef, megis yr oeddent wedi eu sefydlu yn ddedwydd ac yn anrhydeddus yn eu creadigaeth; etto fe sicrheir i ni yn anffaeledig gan yr apostol, mai am Grist, yr ail Adda, y mae y lle hwn yn meddwl, Heb. ii. 6—10. a'i aelodau cyfriniol ynddo ef. Yn gyfatebol i hyn fe gafodd Abraham yr addewid o fod yn etifedd y byd, ac efe a'i cafodd hi trwy gyfiawnder ffydd, hyny yw, y cyfiawnder y mae ffydd yn ei amgyffred, Rhuf. iv. 13. Yn awr yr oedd Abraham yn gosgod o Grist, ac yn dad y ffyddloniaid, y rhai a fendithir oll fel y bendithiwyd yntau. Gan hyny yr oedd yr addewid hon yn wreiddiol i Grist, trwy y cyfiawnder a weithredwyd ganddo ef; ac yn ail-raddol i'w aelodau ef, trwy yr un cyfiawnder yn cael ei amgyffred trwy ffydd.

Y mae yr addewid hon o gymmwynasau tymhorol, yn rhoddi meddiant i'r credinwyr o'r cyfryw, mor bell ag y mae eu hangen o'r fath hyny yn myned, Phil. iv. 19. o'r hwn angen, nid hwy eu hunain, eithr eu Tad yw y barnwr addas, Mat. vi. 32. Yn ganlynol, y mae dwy brif gangen i'r

addewid hon; sef, yr addewid o ddarpariaeth, a'r addewid o amddiffyniad.

1. Yr addewid o ddarpariaeth o bethau da, angenrheidiol at y bywyd hwn; trwy yr hon y gallant yn hyderus ymddiried yn Nuw am danynt, pa gyfyngderau bynag y dygir hwynt iddo unrhyw amser, Psal. xxxiv. 10. "Y mae eisieu a newyn ar y llewod ieuainc: ond y sawl a geisiant yr Arglwydd, ni bydd arnynt eisieu dim daioni." Y mae eu bwyd a'u diod wedi eu sicrhau iddynt yn y cyfammod: yr hyn wedi ei ganfod trwy ffydd, nis gall lai na rhoddi iddynt neillduol flas arno, pa mor isel bynag y byddo eu hymborth, o ran swm a rhyw, Esay xxxiii. 16. "Ei fara a roddir iddo, ei ddwfr fydd sicr." Hwy â borthir, er nas gwleddir hwynt, Psal. xxxvii. 3. "A thi a borthir yn ddiau." Hwy a gânt ddigon, *ac a ymddigonant*, Joel ii. 26. Ac ni chaiff hyd y nod dyddiau newyn eu hattal rhag digonedd, Psal. xxxvii. 19. "Yn amser newyn y cânt ddigon." A chan fod cwsg yn angenrheidiol er eu hadfywiad, y mae'r addewid yn cynnwys hyn hefyd, Diar. iii. 24. "Ti a orweddi, a'th gwsg a fydd melus." Y mae angen dillad arnynt, ac y mae darpar ar gyfer hyn yn bod, Mat. vi. 30. "Os dillada Duw felly lysieuyn y maes,—oni ddillada efe chwi yn hytrach o lawer, O chwi o ychydig ffydd?" Wedi rhoddi iddynt, trwy gyfammod, anrheg newydd o fywyd, ac o gorff, yr hyn sydd fwy na bwyd a dillad, nis gomedd efe iddynt y pethau lleiaf hyn sydd yn angenrheidiol er cynnaliaeth y mwyaf. adn. 25. "Onid yw y bywyd yn fwy nâ'r bwyd, a'r corff yn fwy nâ'r dillad? Yn y modd hyn y darfu i'n rhieni cyntaf syrthiedig, wedi credu a chofleidio yr addewid o fywyd, gael, gydâ'r anrheg newydd o fywyd, fwyd â dillad wedi eu darparu iddynt, megis y sylwir yn bennodol, Gen. iii. 15, 18, 21. Fe addawir hefyd fendith ar eu llafur,

a llwyddiant yn eu galwedigaethau a'u goruchwylion, Esay lxv. 21, 22, 23. Mewn gair, y mae y cyfammod yn cynnwys, na wna Duw "attal dim daioni oddiwrth y rhai a rodiant yn berffaith," Psal. lxxxiv. 11.

2. Y mae hefyd addewid o amddiffyniad oddi wrth y pethau niweidiol sydd yn perthyn i'r bywyd hwn, Psal. xci. 10, 11. "Ni ddygwydd i ti niwed; canys efe a orchymyn i'w angelion am danat ti, dy gadw yn dy holl ffyrdd." Y'nghyd â'r bara a'r dwfr, a ddarparwyd gan y cyfammod iddynt i fyw arno, y mae cestyll y creigiau wedi eu siorhau iddynt yn lle o amddiffyn, lle y gallant yn ddiogel eu mwynhau hwynt, Esay xxxiii. 16. Yr un Arglwydd ag y sydd yn haul i'w meithrin hwynt, a fydd yn darian i'w hamddiffyn, Psal. lxxxiv. 11. Efe a fydd *yn fur o dân o amgylch iddynt*, i'w cynhesu hwynt, ac i darfu a brawychu, a chadw ymaith eu gelynion, Zech. ii. 5. Y mae y cyfammod yn rhoddi cysgodfa eang er diogelwch credinwyr, Psal. xci. 4. "A'i asgell y cysgoda efe trosot." Y mae cysgodfa'r cyfammod yn ymestyn dros eu cyrff; a thros eu iechyd, i'w amddiffyn ef, tra y mae ef yn angenrheidiol er gogoniant Duw a'u lles hwythau, Diar. iii. 7, 8. "Ofna yr Arglwydd, a thyn ymaith oddiwrth ddrygioni, hyny a fydd iechyd i'th fogail, a mêr i'th esgyrn;" dros eu bywyd, tra y byddo gan Dduw un gwasanaeth iddynt yn y byd hwn: felly, mewn clefyd, y mae efe yn edrych yn ofalus am danynt, Psal. xli. 3. "Cyweiri ei holl wely ef yn ei glefyd:" iachau eu clefydau, a hwythau yn cael eu gwaredu, Psal. ciii. 3, 4. Ac y maent yn cael eu rhyddhau oddiwrth elynion sydd yn ceisio eu bywyd hwynt, Psal. xli. 2. Ië, pan y mae angeu yn marchogaeth mewn buddugoliaeth, ac wedi gwneuthur anrhaith ar bob ochr iddynt, megis â chleddyf neu haint, y maent hwy yn ddiogel

dan gysgodfa'r cyfammod Psal. xci. 6, 7. Y mae y gysgodfa hon yn cael ei hestyn dros eu henwau, eu parch, a'u cymmeriad, Job v. 21. "Rhag ffrewyll tafodau y'th guddir:" un ai ni chaiff tafod dynion gwenwynig eu cyraedd hwynt; neu ni byddant yn medru peri i'r dom lynu arnynt; neu yntau os goddefir iddynt beri iddo lynu dros amser, fe wna cysgodfa'r cyfammod ei sychu ef ymaith oll o'r diwedd, ac fe *ddygir allan eu cyfiawnder fel y goleuni, a'u barn fel hanner dydd*, Psal. xxxvii. 6. Y mae hi yn estynedig dros eu tai â'u lle o breswylfod hwynt, Psal. xci. 10. "Ac ni ddaw pla yn agos i'th babell." Y mae hi yn cyraedd oddiamgylch eu meddiannau hwynt, gan wneuthur cae oddiamgylch yr oll a feddant, Job i. 10. Ië, ac y mae plyg o honi, i daflu dros eu gweddwon â'u plant hwynt, pan y maent hwy wedi marw a myned ymaith, Jer. xlix. 11. "Gâd dy amddifaid, myfi a'u cadwaf hwynt yn fyw; ac ymddiried dy weddwon ynof fi."

Hyd yma am yr addewid o fywyd tragywyddol, wedi ei hystyried yn yr ail yspaid, sef, o undeb â Christ hyd angeu.

YSPAID III. *O angeu dros dragywyddoldeb.*

Yr ydym etto, i ystyried yr addewid o fywyd tragywyddol i'r etholedigion, megis y mae hi yn cael ei chyflawni iddynt, ac yn cael ei heffaith arnynt hwy, o'u marwolaeth dros dragywyddoldeb. Ac felly, ei llinellau mawrion hi ydynt ddwy; sef, yr addewid o fuddugoliaeth ar angeu, a'r addewid o fywyd tragywyddol yn y nef. Ac yn fyr y caf gyffwrdd a'r pethau hyn, gan fy mod wedi eu trin yn helaeth mewn lle arall.

1. Yr addewid o fuddugoliaeth ar angeu.

Y mae yr addewid o fywyd tragywyddol yn cynnwys yr addewid, o fuddugoliaeth ar angeu, gael ei anrhegu ar yr oll, a phob un o'r had ys-

brydol, yn y frwydr â'r gelyn diweddaf, Esay xxv. 8. "Efe a lwnc angeu mewn buddugoliaeth; a'r Arglwydd Dduw a sych ymaith ddagrau oddiar bob wyneb." Ar ol y daith flinedig, a mynych ymladdfa ffydd, yr hyn y maent yn ei gael, yn eu mynedfa trwy anialwch y byd hwn, y maent i fyned trwy Iorddonen angeu, ac i ymladd y frwydr olaf â'r gelyn hwnw. Eithr y mae y fuddugoliaeth wedi ei sicrhau, o'u tu hwynt, trwy addewid; i'r hon y mae dwy brif gangen, sef, addewid o ddiarfogi angeu, ac addewid o'i ddinystrio ef.

1. Y mae addewid o ddiarfogi angeu i'r credinwyr wrth farw; felly, fel nas caiff ef mewn un modd eu cyraedd hwynt ag ergyd dinystriol, Hos. xiii. 14. "Byddaf angeu i ti, O angeu;" sef, trwy gymmeryd ei golyn ef yn llwyr ymaith, 1 Cor. xv. 55. Pan y daeth pechod i'r byd fe'i canlynodd angeu ef; ac fe roddodd pechod golyn gwenwynig i angeu, â'r hwn y byddai iddo ladd y pechadur, gorff ac enaid, ar yr un waith: fe ddarfu i'r gyfraith santaidd, a'i melldith, sefydlu y colyn hwn yn llaw angeu; wedi ei flaen-llymu ef felly yn gyntaf, fel nas gallasai fethu gwneuthur dienyddiad. Eithr wedi i Grist, yr ail Adda, ymrwymo i oddef y felldith, a marw yn lle a thros ei bobl, fe wnaethwyd addewid o ddiarfogi angeu ar eu rhan hwynt: gan i'r machniydd ddyoddef poenau angeu, wedi ei arfogi â'i golyn, yr oedd yn rhaid i'r prif ddyledwyr gael eu gollwng yn rhydd oddiwrth ddyoddef yr unrhyw drachefn. Yn y modd hyn y mae'r cyfammod yn diogelu credinwyr oddiwrth arfogaeth angeu. Ië, y mae efe yn cyfnewid ei natur ef yn y fath fodd, fel y mae yn ei wneuthur yn beth hollol newydd oddiwrth y peth oedd yn wreiddiol. Oddiyma y mae fod angeu yn nodrefn-res trysorau y saint, 1 Cor. iii. 22. "Pa un bynag—ai bywyd, ai angeu, ai pethau presenol, ai pethau i ddyfod; y mae

pob peth yn eiddo chwi." Nid yn unig y mae bywyd yn eiddo iddynt, trwy'r cyfammod, eithr y mae angeu hefyd yn eiddo iddynt, trwy yr un cyfammod. Ac yn wir, megis y mae efe wedi ei ffurfio o newydd trwy'r cyfammod, y mae ef o ragorol ddefnydd iddynt, i'w dwyn hwynt i sefyllfa o berffeithrwydd a thragywyddol orphwysfa, Heb. xii. 23. Dat. xiv, 13.

Y mae yr addewid hon wedi ei himplo yn yr addewid o fuddugoliaeth a wnaethwyd i Grist, megis yr ymddengys oddiwrth y lle a goffâwyd o'r blaen Esay xxv. 8. Efe a ymladdodd âg angeu wedi ei arfogi â'i golyn, i'r dyben o'i ddiarfogi ef ar ran ei bobl: efe a dderbyniodd ef golyn ef i'w enaid a'i gorff ei hun, fel y byddai iddynt hwy gael eu gwared oddiwrtho ef. O herwydd paham, y mae yr addewid o fuddugoliaeth ar angeu a wnaethwyd iddo ef, yn sicrhau y diarfogiad arno iddynt hwy. A chan fod yr addewid yn eu gwneud hwy yn ddiogel, yn yr ymladdfa tuâ'r golyn diweddaf, felly fe all y grediniaeth fywiog o honi, wared rhag ofn yn yr achos.

2. Y mae addewid o ddinystrio angeu ar ran y credinwyr meirw, trwy adgyfodiad gogoneddus yn y dydd diweddaf, Hos. xiii. 14. "Byddaf drane i ti, y bedd." Pan y daeth angeu i'r byd trwy bechod, yna fe ddaeth y bedd, fel cydymaith angeu, i gadw y carcharorion yn ddiogel iddo ef, hyd y farn gyffredinol; ac yn y modd hyn y mae'r bedd yn gwasanaethu angeu, yn achos y rhai oll sydd yn marw mewn cyflwr o elyniaeth tuag at Dduw. Eithr trwy i Grist, yr ail Adda, ammodi yn yr ail gyfammod, i fyned, dros ac ar ran ei bobl, yn garcharor angeu i'r bedd, ac i orwedd yno hyd oni byddai eu dyled hwynt wedi ei gyflawn dalu, fe wnaethwyd addewid o adgyfodiad gogoneddus i'w aelodau ef; trwy yr hyn y gosodir hwynt allan o gyraedd angeu dros byth, yn y dydd diweddaf:

oherwydd "yna y bydd yr ymadrodd a ysgrifenwyd, Angeu a lyncwyd mewn buddugoliaeth," 1 Cor. xv. 54. ac yno y canant yn fuddugoliaethus, "O angeu, pa le y mae dy golyn? O uffern, pa le y mae dy fuddugoliaeth?" adn. 55. Yn y modd hyn y mae y cyfammod yn sicrhau y ffurfiad o newydd o'u cyrff hwynt oedd wedi dattod, a'r dychweliad o'u heneidiau oedd wedi ymadael, iddynt, a'u dyfodiad allan o'u beddau yn ogoneddus, yn anfarwol ac yn anllygredig. Yn y grediniaeth o'r hyn, fe all y saint gydâ chysur, ystyried y bedd yn lle o ymneillduad, o'r hwn, ar ol enyd, y cânt ddyfod allan gydag annrhaethadwy orfoledd.

Y mae yr addewid hon wedi ei himpio yn yr addewid o adgyfodiad a wnaethwyd i Grist, Esay xxvi. 19. "Dy feirw a fyddant byw, fel fy nghorff i yr adgyfodant." Wedi i'r addewid o'r adgyfodiad gael ei gwneuthur iddo ef fel person cyhoedd, y mae yn rhaid iddi gymmeryd lle hefyd ar ei aelodau cyfriniol ef, yr hwn yw eu pen cyfammodol hwynt. Oddiyma y mae'r Psalmydd yn dywedyd, *Fy nghnawd hefyd a orphwys mewn gobaith,* sef yn y bedd, mewn gobaith o adgyfodiad gogoneddus, o herwydd nad oedd y Sanct Iesu i weled llygredigaeth, Psal. xvi. 9, 10. Act. xiii, 35. a thrwy hyny yn dangos, y byddai i adgyfodiad Crist sicrhau ei adgyfodiad gogoneddus ef, fel aelod o'r corff cyfriniol trwy ffydd. Ac yn wir y mae y fath gyssylltiad rhwng adgyfodiad Crist, ac adgyfodiad dedwydd y saint, fel y maent yn sefyll neu syrthio y'nghyd, 1 Cor. xv. 16. "Canys os y meirw ni chyfodir, ni chyfodwyd Crist chwaith."

II. Yr addewidd o fywyd tragywyddol yn y nef.

Y mae'r addewid o fywyd tragywyddol, yn y lle diweddaf, yn cynnwys yr addewid o fywyd

diddiwedd yn y nef, i gael ei anrhegu ar yr oll, a phob un o'r hâd ysbrydol, ar ol angeu, Dan. xii. 2. "A llawer o'r rhai sydd yn cysgu yn llwch y ddaear a ddeffrôant, rhai i fywyd tragywyddol." Yr oedd hyn yn brinach yn y datguddiad o hono dan yr Hen Destament na than y Newydd, 2 Tim. i. 10. etto yr oedd efe, hyd y nod y pryd hyny, yn cael ei ddatguddio mor eglur, fel y darfu i'r holl batrieirch suntaidd fyw a marw yn y gredinjaeth o hono, Heb. xi. 13—16. Fe'i gwelodd y tadau cyn Abraham ef yn yr addewid o had y wraig, yr hwn oedd i ysigo pen y sarff: ac o Abraham hwy a'i gwelsant ef yn yr addewid o Ganaan. Eithr yn awr, trwy'r efengyl, y mae'r bywyd a'r anfarwoldeb hwn wedi ei ddwyn i gyflawn oleuni. Trwy y toriad o'r cyfammod cyntaf fe fforffedwyd y bywyd hwnw, ac fe gollodd Adda a holl ddynolryw y baradwys nefol: yn arwydd o hyn fe'i trowyd ef allan o'r baradwys ddaearol. Eithr wedi i'r ail Adda, yn yr ail gyfammod, gymmeryd arno y pryniad o'r etifeddiaeth fforffedol, fe wnaethwyd addewid newydd o honi er ymgeledd i'w had ef: ac y maent hwy wedi eu hurddo â hawl anniddymadwy iddi yn y mynyd cyntaf o'u hundeb â Christ trwy ffydd; er hyny nid ydynt yn cael eu gosod yn y meddiant o honi yn ddiatreg. A phan y maent yn dyfod i'r meddiant, nid yw hi yn cael ei rhoddi iddynt i gyd ar yr un waith, eithr ar ddau wahanol amser, mewn gwahanol fesurau; yn ol y ddwy brif gangen o'r addewid o honi, sef, addewid o drosglwyddo eu heneidiau i'r nef yn angeu, ac addewid o'u trosglwyddo hwynt yno, enaid â chorff, yn y dydd diweddaf.

1. Y mae addewid o drosglwyddo eu heneidiau, ar wahan oddiwrth eu cyrff, i'r nef, yno i weled â mwynhau wyneb Duw. Ac y mae hyny yn cael ei gyflawni iddynt yn ddiatreg ar ol eu marwol-

aeth. Fe gyhoeddwyd ac fe gymhwyswyd hyn yn y modd mwyaf amlwg gan ein Iachawdwr, at y lleidr edifeiriol ar y groes, Luc xxiii. 43. "Heddyw y byddi gydâ mi yn mharadwys." Eithr yn y grediniaeth o hyn yr oedd y cyfammod i Dafydd, hyd y nod yn wyneb angeu, ei holl iachawdwriaeth, a'i holl ddymuniad ef, 2 Sam. xxiii. 5. ac yr oedd Paul yn dymuno ymadael, gan wybod ei fod ef i fod gydâ Christ ar ei ymadawiad, Phil. i. 23. Ac yn y grediniaeth o'r un peth y mae yr holl eglwys filwriedig "yn och'neidio, gan ddeisyfu cael eu harwisgo â'u tŷ sydd o'r nef," hyny yw, y gogoniant nefol, 2 Cor. v. 2. Yn wir fe ddarfu i felldith y cyfammod cyntaf, ar y toriad o'r cyfammod hwnw, ddyfod i'w rhan hwynt, yn gystal a'r lleill o ddynolryw: ac fe fuasai y felldith hòno yn deillio yn naturiol mewn dryllìad yn ddarniau arnynt hwy, fel torwyr cyfammod, ac yn gosod eu rhan iddynt gydâ'r rhagrithwyr; eithr gan i hyny gael ei gwblhau i'r cyflawnder eithaf ar Grist eu pen hwynt, er gwahaniad ei enaid a'i gorff santaidd ef, nis gall weithredu mwy arnynt hwy. O herwydd paham, er fod ereill yn marw, trwy effaith y felldith yn gwhanu eu henaid a'u corff, a'r naill yn myned i'r lle o boenedigaeth, a'r llall yn myned i'r bedd, hyd y dydd diweddaf; etto nid ydynt hwy yn marw felly. Wedi eu "llwyr brynu oddiwrth felldith y ddeddf," Gal. iii. 13. *ni welant* byth y fath *farwolaeth,* Ioan viii. 51. Eithr y maent yn marw mewn cydffurfiad â Christ eu pen, wedi "eu rhaglunio hefyd i fod yn un ffurf a delw ei Fab ef," Rhuf. viii. 29. Yr hwn yw "y cyntaf-anedig oddiwrth y meirw," Col. i. 18. a "blaen-ffrwyth y rhai â hunasant," yr hwn y mae *pob un* i'w ddilyn *yn ei drefn ei hun,* 1 Cor. xv. 20. 23. Fel, megis yn achos y pen, felly yn achos yr aelodau hefyd, megis y daeth marwolaeth i mewn trwy bechod, felly y byddai i bechod fyned

ymaith trwy farwolaeth. Trwy rinwedd eu cymmundeb â Christ yn ei farwolaeth, y mae yr undeb rhwng eu heneidiau a'u cyrff marwol yn cael ei ddattod; eu heneidiau yn cael eu gollwng ymaith mewn heddwch i'r gogoniant nefol; i aros yno, hyd y cyfryw amser ag y byddo i'w cyrff, a osodwyd i orwedd yn y bedd, ddyfod, trwy rinwedd eu cymmundeb â Christ yn ei adgyfodiad, i wisgo anllygredigaeth ac anfarwoldeb.

Y mae'r addewid hon wedi ei himpio yn yr addewid o dderbyniad a wnaethwyd i Grist pan y byddai iddo ef osod ei enaid yn aberth dros bechod: mewn hyder am yr hwn dderbyniad, pan yn marw ar y groes, efe a gyflwynodd ei ysbryd, neu ei enaid, i ddwylaw ei Dad, Luc xxiii. 46. ac a ddywedodd wrth y lleidr edifeiriol, ei fod ef i fod y diwrnod hwnw yn mharadwys, er ei bod y pryd hwnw tua'r prydnawn o hono, adn. 43. Y geiriau y'mha rai y cyflwynodd efe ei enaid i'w Dad oeddent eiriau Dafydd, Psal. xxxi. 5. "I'th law y gorchymynaf fy ysbryd;" a thrwy hyny yn arwyddo, fod derbyniad eneidiau ei bobl ef wrth farw, i ddwylaw y Tad, yn ymddibynu ar y derbyniad o'i enaid ef i'w ddwylaw ef. O herwydd fe dderbyniwyd ei enaid ef felly, trwy rinwedd y cyfammod, fel enaid cyhoedd, yn cynddrychioli eneidiau yr holl had; oddiwrth yr hyn y mae Dafydd, gan lafaru am Grist, yn dywedyd, "Ni adewi fy enaid yn uffern," Psal. xvi. 10. Act. ii. 31. O herwydd paham, yr oedd yn gynnwysedig yn yr addewid o dderbyn enaid Crist, addewid o dderbyn eneidiau eu holl aelodau cyfriniol ef.

2. Y mae addewid o'u trosglwyddo hwynt, enaid â chorff, i'r nef, i fod yno *yn wastadol gyda'r Arglwydd;* yr hyn sydd i gael ei gyflawnu iddynt hwy yn y dydd diweddaf, Dan. xii. 2, 3. "A llawer o'r rhai sydd yn cysgu yn llwch y ddaear a ddeffroant, rhai i fywyd tragywyddol, a rhai i

warth â dirmyg tragywyddol. A'r doethion a ddysgleiriant fel dysgleirdeb y ffurfafen; a'r rhai a droant lawer i gyfiawnder (neu yn hytrach, *y rhai a wnant gyfiawnder, o'r llawer)* a fyddant fel y sêr byth yn dragywydd." Yn yr hwn le, y mae y *llawer* a grybwyllir, adn. 2. ac yn cynnwys yr *oll*, yn cael eu rhanu i ddau wahanol fath, o ran eu cyflwr rhagllaw yn nghanlyniad yr adgyfodiad: y rhan ddedwydd, yr hon yw y fath gyntaf o honynt, a enwir adn. 3. oddiwrth eu cyflwr presenol yn y bywyd hwn, *Y doethion*, a'r *rhai a wnant yn gyfiawn;* hyny yw, yn iaith y Testament Newydd, *y rhai cyfiawn,* Mat. xiii. 43. a'r "rhai a wnaethant dda," Ioan v. 29. mewn cyferbyniad i'r *ynfydion*, a'r "rhai a wnaethant ddrwg." Y rhai hyn wedi "dyfod allan i adgyfodiad bywyd," Ioan v. 29. "a ddysgleiriant fel dysgleirdeb y ffurfafen, ac fel y sêr byth yn dragywydd:" ïe, hwy a "lewyrchant fel yr haul, yn nheyrnas eu Tad." Mat. xiii. 43. Hyn yw y pinacl uchaf o obaith y saint; y'mha un y cânt hwy, yn eu holl ddyn, yr oll o'r bywyd tragywyddol yn ei berffeithrwydd. Fe gafodd dyn addewid ammodol o hyn yn y cyfammod gweithredoedd: eithr wedi tori'r ammod, fe gollwyd y gymmwynas a addawyd; fe gauwyd pyrth y nef yn erbyn Adda a'i holl had naturiol. Eithr wedi i Grist, yr ail Adda, ymrwymo i gyflawni ammod yr ail gyfammod, yr hon a sefydlwyd yn ol manol ystyriaeth o'r gofynion oedd gan y cyfammod toredig cyntaf ar yr had ysbrydol, ïe, wnaethwyd addewid newydd o honi er cymmwynas iddynt hwy, a hyny yn ddiammodol. Ac yn unig i'w gyflawniad ef o'r ammod hòno, y mae'r gwneuthuriad a'r cyflawniad o'r addewid hon yn ddyledus. Nis gallasai gweithredoedd neb ereill ond efe byth lwyddo i ynnill yn ol y fforffediad, a phrynu hawl newydd: ac y mae ei weithredoedd ef yn ei wneuthur mor effeithiol

fel y maent yn sicrhau y gosodiad o'i holl hâd ef mewn gwir feddiant o'r etifeddiaeth brynedig; felly, fel y cânt "deyrnasu mewn bywyd trwy un, Iesu Grist," Rhuf. v. 17.

Hon yw yr addewid olaf yn y cyfammod, o ran y cyflawniad o honi, ag sydd megis yn berffeithiad o'r holl rai ereill, ac nad yw i gael ei chyflawni hyd oni *orphenir dirgelwch Duw.* Fe ddarfu i saint yr Hen Destament farw yn y grediniaeth o honi, ac nid yw hi etto wedi ei chyflawni iddynt; na, fe ddarfu i saint y Testament Newydd farw, ac y mae yn rhaid iddynt yn wastadol farw, yn y grediniaeth o honi, heb iddi gael ei chyflawni iddynt hwythau ychwaith, hyd oni chyflawnir hi i'r holl hâd gydâ'u gilydd, yn niwedd y byd. Yn y modd hyn, y mae'r addewid hon yn parhau i fod yn wrthddrych anweledig ffydd i'r eglwys filwriedig; ac i'r eglwys orfoleddus hefyd, y rhai y mae yn rhaid i'w cnawd orphwys mewn gobaith hyd y dydd hwnw, Psal. xvi. 9. Eithr, o herwydd bod yr amser gosodedig i'r cyflawniad o honi, wedi ei osod, yn nyfnder pen-arglwyddiaethol ddoethineb, mor bell, o herwydd rhesymau sydd yn gweddu i'r perffeithiau Dwyfol, fe roddwyd rhai gwystlon neillduol o honi, i gadarnhau ffydd yr eglwys yn yr achos. Hyny oedd trosglwyddiad Enoc, enaid a chorff, i'r nef, yn yr yspaid batriarchaidd; Elias, yn amser y gyfraith; a'n Iachawdwr bendigedig, yn amser yr efengyl.

Y mae yr addewid hon wedi ei himpio yn yr addewid o ddyrchafiad gogoneddus a wnaethwyd i Grist; trwy yr hon y sicrhawyd iddo ef ei esgyniad, mewn enaid a chorff, i'r nef, a mynediad i'w ogoniant, Luc. xxiv. 26. "Onid oedd raid i Grist ddyoddef y pethau hyn, a myned i mewn i'w ogoniant?" Yr oedd y ddau hyn yn angenrheidiol o herwydd y cyfammod: yr oedd ei ddyoddefiadau yn angenrheidiol o herwydd yr ammod o

hono, yr hon yr oedd yn rhaid ei chyflawni ganddo ef; ac yr oedd ei fynediad i mewn i'w ogoniant yn angenrheidiol, o herwydd yr addewid o hono, yr hon yr oedd yn rhaid ei chyflawni iddo ef. Yn awr, fe esgynodd Crist, ac a aeth i mewn i'w ogoniant fel person cyhoedd, fel *rhagflaenor drosom ni*, Heb. vi. 20. Ac am hyny y mae'r addewid, trwy rinwedd yr hon yr esgynodd ac yr aeth efe i mewn iddo, yn cynnwys esgyniad a gogoneddiad ei holl aelodau cyfriniol ef, y rhai gan hyny, y dywedir am danynt, eu bod yn "cyd-eistedd yn y nefolion leoedd yn Nghrist Iesu," Eph. ii. 6. A'r pryd hyny, ac nid cyn hyny, y bydd i'r addewid gael ei pherffaith gyflawni iddo ef, pan y byddo'r holl aelodau cyfriniol yn bersonol yno, y'nghyd â'u pen; pan y byddo yr holl had, wedi eu perffaith adennill oddiar angeu, yn cael teyrnasu yno, y'nghyd âg ef, mewn bywyd dros byth mwy.

Ac fe gaiff yr hyn a ddywedwyd yma fod yn ddigon, am yr addewid o fywyd tragywyddol, yn yr yspaid diweddaf o hono.

*Casgliad oddiwrth yr addewid o fywyd tragywyddol.*

Yn y modd hyn fe ddarfu i ni agor yr addewid o fywyd tragywyddol i'r etholedigion, y'nghyd a'i heffaith arnynt hwy, yn ei gwahanol yspeid; sef, cyn eu hundeb â Christ, o'u hundeb a Christ hyd angeu, ac yn ddiweddaf, o'u marwolaeth dros dragywyddoldeb: y cyfan yn tarddu allan o'r addewidion priodol i Grist ei hun. O herwydd gan i'r rhai hyn gael eu cyflawni, mewn diogelu gwreiddyn Jesse, er yr amrywiol gyfnewidiadau yr aeth y teulu hwnw danynt, yn y rhai yr oedd yn aml mewn perygl o ddiddymiad, hyd y cyfryw amser y tarddodd Crist allan o hono, *megis gwreiddyn o dir sych*, Esa. xi. 1, 10. a'r liii. 2. Ac yna

yn ei ddwyn ef i fynu, a'i ddwyn trwodd, yn ei waith; er y llwyth o bechod cyfrifol oedd yn gorwedd arno ef, a'r gwrthwynebiad a gyfarfu efe oddiwrth y byd, a gallu uffern yn ymosod yn ei erbyn ef, Esa. xlix. 8. a'r l. 7—9. Ac yn ddiweddaf, yn ei gyfodi ef oddiwrth y meirw, ei gymmeryd ef i fynu i'r nef, a'i ogoneddu ef yno dros byth bythoedd, 1 Tim. iii. 16. Yn yr un modd a hyny y mae yr addewid o fywyd tragywyddol i'r etholedigion, sydd gynnwysedig yn hyny, yn cael ei chyflawni, mewn diogeliad o honynt yn eu cyflwr annychweledig, hyd oni uner hwynt â Christ trwy ffydd: ac yno yn eu cynnal, a'u dwyn trwodd, mewn cymmeriad gydâ Duw, a chymdeithas âg ef, dros yr holl amser o'u harosiad yn y byd hwn; er yr holl wrthwynebiad oddiwrth y diafol, y byd, a'r cnawd: ac yn ddiweddaf, yn eu hadgyfodiad yn y dydd diweddaf, a'u derbyniad hwynt, enaid a chorff, i'r nef, i fod yno yn wastadol gydâ'r Arglwydd.

Ac yn awr, oddiwrth y cyfan a ddywedwyd ar y pwnc hwnw, yr ydym yn tynu y casgliadau canlynol; sef, fod holl gymmwynasau y cyfammod gras, a anrhegwyd, neu a anrhegir ar bechaduriaid, *yn sicr drugareddau Dafydd*, Esa. lv. 3. Fe ellir cymmeryd hyn dan sylw yn y tri pheth canlynol hyn.

1. Y maent oll yn drugareddau, yn drugareddau pur, heb olygiad ar un teilyngdod yn y derbynwyr. Y maent oll yn rhoddion rhydd ras: o herwydd y mae y cyfammod i ni yn gyfammod o ras, o'r dechreu i'r diwedd, Eph. ii. 7, 8. "Fel y gallai ddangos yn yr oesoedd a ddeuai, ragorol olud ei ras ef, trwy ei gymmwynasgarwch i ni yn Nghrist Iesu. Canys trwy ras yr ydych yn gadwedig, trwy ffydd; a hyny nid o honoch eich hunain; rhodd Duw ydyw." Y mae y derbyniad o'r credinwyr i ogoniant, ar ol eu holl weithio, yn

gymmaint o rydd ras, ag yw eu bywhau hwynt, pan y maent yn farw mewn pechod, heb allu gwneuthur dim daioni. Y maent yn cael eu ffydd a'u gweithredoedd, eu gras a'u gogoniant, eu pethau da tymhorol a thragywyddol, oll o honynt yn gydradd o rydd ras: o herwydd y maent oll wedi eu sicrhau iddynt yn, ac yn dylifo o addewid y cyfammod a wnaethwyd cyn dechreu'r byd; ac y maent wedi eu sylfaenu ar sylfaen, yr hon nid oedd ganddynt hwy un fath o law yn ei gosodiad hi.

2. Y maent oll yn drugareddau Dafydd, hyny yw, yn drugareddau Iesu Grist, Mab Dafydd. Ei ufudd-dod a'i farwolaeth ef yw yr unig redfa yn yr hon y mae rhydd ras y cyfammod yn rhedeg, gan ddwyn yr holl drugareddau hyn gydâg ef, Eph. ii. 7. I santeiddrwydd ei natur ef, a chyfiawnder ei fywyd, a'r boddlonrwydd a wnaeth trwy ei farwolaeth, y maent oll yn ddyledus: o herwydd ar y rhai hyn yn unig, ac nid ar ddim ynom ni, pa un bynag ai cyn neu wedi ein dychweliad, y mae yr addewid o fywyd tragywyddol wedi ei sylfaenu. Y mae ein credu trwy ras, tra y mae ereill yn aros mewn angrhediniaeth; y mae i ni gael gweled Duw mewn gogoniant, tra y mae ereill yn cael eu bwrw i'r tywyllwch eithaf; y mae y bara yr ydym yn ei fwyta, a'r dwfr yr ydym yn ei yfed, yn y bywyd hwn, y'nghyd â'r manna cuddiedig y cawn fwyta o hono, a'r afonydd o hyfrydwch y cawn yfed o honynt yn y nef; i gyd yn gyfartal, yn werth gwaed ein Gwaredwr.

Yn ddiweddaf, y mae yr oll o honynt yn sicr drugareddau. Yr hyn y mae y saint wedi ei gael o honynt eisioes, nis gallasent fethu eu cael: ac y mae yr hyn o honynt sydd heb eu derbyn ganddynt, mor sicr a phe y byddent yn eu meddiant, 2 Sam. xxiii. 5. "A gwybu Dafydd sicrhau o'r Arglwydd ef yn frenin ar Israel;" a hyny oddiar

y sylfaen hon, "canys yr oedd ei frenhiniaeth ef wedi ei dyrchafu yn uchel," 1 Chron. xiv. 2. Yn awr, yr oedd teyrnas Saul wedi ei dyrchafu yn uchel hefyd: ac etto fe'i collodd hi. Eithr yr oedd Dafydd wedi cael ei deyrnas trwy y cyfammod; nid felly Saul: oddiyma y mae Dafydd, trwy weled yr addewid yn dechreu cael ei chyflawni, yn penderfynu mewn modd uniawn, y byddai iddi gael ei dwyn y'mlaen, nes ei chwblhau yn gyflawn; er i Saul syrthio o'i ardderchawgrwydd. Y mae trugareddau angbyfammodol yn drugareddau adfeiledig; eithr y mae trugareddau y cyfammod yn sicr. Fe all y blaenaf ddylifo yn gyflawn dros amser, ac etto o'r diwedd sychu i fynu yn hollol dros byth; eithr wedi i ffynhonell y blaenaf gael un waith ei hagor, hi a ddylifa dros byth mwy, heb attaliad. Y mae yr addewid yn anffaeledig sicr, ac nis gall erthylu: y mae hi yn sicr, oddiwrth natur Duw, yr hwn a'i gwnaeth hi, hyd y nod oddiwrth ei anffaeledig wirionedd, ac oddiwrth ei gyfiawnder hefyd mewn perthynas i Grist, 2 Thes. i. 6, 7.

Hyd yma am yr ail ran o'r cyfammod, sef, y rhan addewidiol.

*Nad oes un priodol ddirwy yn perthyn i'r cyfammod gras.*

Nid yw dirwy yn un rhan hanfodol o gyfammod cymmesur: nid yw ond damweiniol yn unig, yn cyfodi, nid oddiwrth natur y cyfammod, eithr oddiwrth natur y cyfammodwyr, y rhai, a hwythau yn ffaeledig, a all dori un ai yr ammod neu yr addewid: yn yr hwn achos y mae dirwy yn cael ei chyssylltu, i sicrhau y cyflawniad o'r ammod o un tu, ac o'r addewid o'r tu arall. O herwydd paham, gan fod y blaid ag oedd yn cyfammodi o du y dyn, ar yr hwn yr oedd cyflawn ammod y cyfammod hwn, yn un anffaeledig; megis yr

oedd y blaid oedd yn cyfammodi o du y nef, ar yr hwn yr oedd cyflawni'r addewid o hono; nid oedd un lle, mewn un modd, i ddirwy ynddo, mewn dull priodol o enwi; megis nad oedd un yn y cyfammod cyntaf ond o un tu. Yn yr ail gyfammod, fe hollol ymddiriedodd y Tad a'r Mab y naill i'r llall; oddiar ymddiried i'r Mab, fe dderbyniodd y Tad holl saint yr Hen Destament i'r nef, cyn i werth eu rhyddhad gael ei dalu; ac oddiar ymddiried i'r Tad, y mae y Mab, er yn agos i ddau cant ar bymtheg o flyneddau a aeth heibio, wedi talu cyflawn werth rhyddhad yr etholedigion, tra yr oedd torf ddirfawr o honynt y pryd hyny heb eu geni i'r byd, ac nid yw llawer o honynt hyd y nod i'r dydd hwn.

Y mae yn wir, fod y personau y cyfammodir drostynt yn ffaeledig: eithr nid yw cyflawni ammod y cyfammod, fel y cyfryw, mewn un pwnc, yn gorwedd arnynt hwy; y mae Crist wedi cymmeryd hyny yn hollol arno ei hun, ac yn gyfatebol i hyny wedi ei chyflawni hi yn barod. Tra y maent yn aros yn eu cyflwr natur, heb Grist, y maent yn bersonol yn y cyfammod gweithredoedd, ac nid yn y cyfammod gras. Ac wedi iddynt un waith ddyfod yn gredinwyr yn Nghrist, y mae addewid y cyfammod gras yn aros yn gyflawn iddynt hwy, er ei holl ffaeleddau; ac y mae yn rhaid iddi o angenrheidrwydd aros felly, trwy rinwedd ammod y cyfammod sydd wedi ei chyflawni eisoes, ac wedi ei chyfreithiol dderbyn megis wedi ei chyflawni gan Iesu Grist drostynt hwy. Ac er eu bod yn ffaeledig o ran eu gweithredoedd, cyhyd ag y byddont yn y byd hwn, etto, o fynyd eu hundeb a Christ trwy ffydd, nid ydynt yn ffaeledig mewn perthynas i'w cyflwr: nis gallant syrthio allan o'u cyflwr o ras, mwy nag y gall y saint o'r nef syrthio. O herwydd hyn, nid oes, hyd y nod yn eu hachos hwynt, un lle i'r

felldith, neu dragywyddol lid, yr unig ddirwy trwy yr hon y gallasent hwy golli eu hawl i addewid y cyfammod. Y maent, yn wir, yn agored i anfoddlonrwydd tadol, a cheryddon Duw am eu pechodau; eithr gan nad oes trwy y rhai hyn, un toriad ymaith ar eu hawl i'r addewid; ac nad ydynt yn ddialeddol, eithr yn feddygol; nis gellir eu galw yn briodol ddirwy *(neu gosp)* y cyfammod gras, pa fodd bynnag y gellir eu galw mewn modd anghymmwys felly; eithr y maent yn ddiau yn perthyn i'r rhan addewidiol a'r gweinyddiad o'r cyfammod, Psal. lxxxix, 30—35. Esa. xxvii. 9. Heb. xii. 5–7. Lle mae ammod y cyfammod wedi ei chyflawni yn hollol, ac wedi ei chyfreithiol dderbyn fel y cyfryw, er cymmeriad y blaid a fyddo i dderbyn y budd a addawyd, y mae yn amlwg nas gall fod un lle mwy i briodol ddirwy o eiddo'r cyfammod, ar y blaid hòno: ac felly y mae yma, yn achos y credinwyr.

Ac yn y modd hyn yr ydym wedi gorphen y trydydd pen, sef y rhanau o'r cyfammod.

---

# PEN. IV.

## Y GWEINYDDIAD O'R CYFAMMOD GRAS.

---

Y Mae yn aros yn awr i ni ystyried y gweinyddiad o'r cyfammod. Ac, yn gymmaint a bod iachawdwriaeth pechaduriaid yn ymddy-

bynu yn hollol ar y cyfammod hwn; a bod holl oruchwyliaethau Duw tuag atynt hwy, i ddwyn y'mlaen a chwblâu y bwriad grasol hwnw, yn cael ei drefnu yn gydsyniol âg ef; a chan ei fod hefyd ynddo ei hun, y dirgelwch dyfnaf, yn gyngrair mynedol iddo rhwng y Tad a'r Mab, cyn dechreu y byd; y mae yn gyfan-gwbl angenrheidiol i fod gweinyddiad o hono, trwy yr hyn y byddai iddo gael ei wneuthur yn effeithiol i'r dyben y gwnaethwyd ef. Ac ar hyn ni a gymmerwn olwg, trwy ystyried, I. Y person ar yr hwn y discynodd y gweinyddiad o'r cyfammod. II. Gwrthddrych y gweinyddiad. III. Y dyben o hono; ac yn IV, Ei natur ef. Am yr hyn oll mewn trefn.

I. *Crist yn Weinyddwr y Cyfammod.*

Y fath yw natur y peth, y pwys a'r mawr ganlyniad o'r gweinyddiad hwn, fel nas gallasai neb nad oedd yn gymmwys i fod yn blaid-gyfammodol yn y cyfammod, fod yn addas i ymddiried hyny iddo. O herwydd paham, ni ddisgynodd gweinyddiad y cyfammod ar un unig ddyn nac angel, eithr ar yr Arglwydd Iesu Grist, yr ail Adda; ac y mae efe yn ei feddu ef yn ol y cyfammod ei hun, megis gwobr ei waith. Fe rhoddwyd ef yn hyny iddo ef trwy addewid; yn enwedigol, trwy'r addewid o ddyrchafiad gogoneddus, i fod yn was-urddawl y Tad, yn gyn-was y nef, yr hyn a grybwyllwyd o'r blaen, ac yn awr sydd i gael ei ddadblygu yn fwy gwahanredol ac yn llawnach. O herwydd yr achos hwn y "gwnaed yr Adda diweddaf yn ysbryd yn bywhau," megis y dywed y testun, 1 Cor. xv. 45. â'r hwn y cymharwn yr addewid, Esa. xlix. 8. "Mi a'th roddaf yn gyfammod y bobl."

Y mae y rhai'n yn eiriau y Tad wrth Grist, yr ail Adda, y Machniydd-was mawr, a ddewiswyd i wneuthur adgyweiriad o'r cam a wnaethwyd i

anrhydedd Duw gan yr Israel ysbrydol, adn. 3. *Goleuni i'r cenedloedd,* adn. 6. yr hwn nid yw neb arall ond efe, Luc ii. 32. Act. xiii. 47. ymddangosiad yr hwn yn y byd a wnaeth yr *amser boddlongar, dydd iachawdwriaeth,* megis y mae yn y rhan flaenaf o'r 8fed adnod, wedi ei chymharu â'r 2 Cor. vi. 2. Ac y mae yr addewidion wedi eu gwneuthur iddo ef, o wobr ei waith, yn y cyflawniad o ammod y cyfammod, trwy ei ufudd-dod a'i farwolaeth. Oblegid y maent yn cael eu hadchwanegu yn ddiaros at yr addewid o gynnorthwy iddo yn ei waith; *Mi a'th gadwaf* (sef, yn yr yrfa o'th ufudd-dod, wrth weithredu a marw, felly, fel na bydd i ti gael dy lyncu i fynu yn hollol gan angeu, eithr nofio trwy y dyfroedd dyfnaf hyn, yn ddiogel i dir), *ac a'th roddaf yn gyfammod y bobl.* Nid nad oedd Crist erioed wedi ei roddi "yn gyfammod y bobl" nes iddo gyfodi oddiwrth y meirw; na, yr oedd efe wedi ei roddi felly, yn ddiaros, ar ol y cwymp, Gen. iii. 15. eithr mewn golwg, ac mewn ystyriaeth, o'i ufudd-dod a'i farwolaeth, bob amser, y rhoddwyd ef felly; ac y darfu iddo yn ei adgyfodiad a'i esgyniad, yn y modd mwyaf difrifol, gael ei urddo â'r swydd hono.

Y mae y rhoddi hwn, yn ol ymadroddiad yr ysgrythyr, yn arwyddo Dwyfol osodiad neu sefydliad. Felly, fe ddywedir, Esai. xlix. 6. "Mi a'th roddaf yn oleuni i'r cenedloedd, fel y byddych yn iachawdwriaeth i mi hyd eithaf y ddaear;" hyny yw, mi a'th bennodaf, neu a'th osodaf di *yn oleuni;* yn yr un modd ag y gosododd (Hebr. *rhoddodd)* Duw yr haul a'r lleuad "yn ffurfafen y nefoedd i oleuo ar y ddaear," Gen. i. 17. Yn y modd hyn, y dywedir fod y bobl wrth wneuthur neu drefnu blaenor, yn gosod pen, Num. xiv. 4. Neh. ix. 17. O herwydd paham, y mae rhoddi Crist yn gyfammod y bobl, yn ei osod neu ei wneuthur ef y cyfammod; trwy'r hwn y gall y

bobl, unrhyw bobl, Iuddewon neu genhedloedd, ddyfod yn bobl i Dduw, a derbyn holl fendithion y berthynas gyfammodol hòno â Duw. Y mae hyn gan hyny, yn dywedyd fod Iesu Grist yn ordinhad Duw, er cymmodiad pechaduriaid â Duw, a'u cyfrannogiad o holl gymmwynasau'r cyfammod: yn yr un modd ag y mae yr haul yn ordinhad y nefoedd er goleu i'r byd, i oleu yr hwn y mae i bawb rydd ddyfodfa; er ar yr un pryd nad yw efe yn goleuo y dall, na'r rhai hyny a fydd byw o anggeurheidrwydd yn y tywyllwch, am eu bod yn casâu y goleuni. Fe sicrhawyd yr anrhydedd hwn iddo ef yn y rhan addewidiol o'r cyfammod, ar gyfrifwerth ei gyflawniad ef o'r rhan ammodol o hono.

Yn awr, y mae fod Crist, trwy awdurdod y nef, wedi ei osod neu ei wneuthur y cyfammod, yn cynnwys y ddau beth hyn, 1. Y mae efe wedi ei osod yn weinyddwr y cyfammod: megis y cafodd efe y llwyth o brynu y cymmwynasau addawedig, felly y mae efe yn cael yr anrhydedd o'u dosparthu a'u hanrhegu hwynt ar bechaduriaid. Y mae y meddwl hwn o'r ymadrodd yn ymddangos oddiwrth y geiriau canlynol, sydd yn egluro dyben y gosodiad; Esai. xlix. 8. "I sicrhau y ddaear, i beri etifeddu yr etifeddiaethau anghyfanneddol," adn. 9. "Fel y dywedych wrth y carcharorion, Ewch allan." Gwel pen. xlii. 6, 7. 2. Y mae yr oll o'r cyfammod ynddo ef: fel y mae yr hwn sydd yn meddu Crist yn meddu y cyfammod, yr oll o'r cyfammod; yr hwn nid yw Crist ganddo, nid oes na rhan na chyfran gadwedigol ganddo ynddo. Hyn yw cynnwysiad naturiol yr ymadrodd anarferol hwn, yr hwn nis cyfarfyddir âg ef ond yn unig yma, a phen. xlii. 6. ac a gadarnheir gan y geiriau canlynol, "i sicrhau y ddaear." Y mae cyfammod yn beth i sefydlu. Pan torwyd y cyfammod cyntaf, fe ddarfu i sylfaen y ddaear, mewn dull o lefaru, ymollwng, fel nas gallasai hi mwy

sefyll yn gadarn, hyd oni roddwyd Crist yn ail gyfammod, i'w sicrhau hi drachefn: efe a gynhaliodd ei cholofnau hi, trwy rinwedd y cyfammod newydd ynddo ei hun. A phe byddai ei weinyddiad ef o'r cyfammod wedi ei orphen unwaith ar y ddaear, ni saif y ddaear yn hŵy, ond hi a losgir yn ulw. Y mae y dywediad mewn perthynas i'r cwpan sacramentawl, "Y cwpan hwn yw y testament newydd yn fy ngwaed," 1 Cor. xi. 25. yn rhyw-beth o berthynas i'r ymadrodd yn y testun, ac yn gwasanaethu i gadarnhau y synwyr a roddir o hono ef. O herwydd y mae ef yn ddiau yn goddef, 1. Mai y cwpan sacramentawl yw y gweinyddiad o'r testament newydd i dderbynwyr crediniol; felly, fel y maent trwy dderbyn y naill mewn ffydd, yn derbyn y llall hefyd. 2. Fod y testament newydd y'ngwaed Crist: felly, fel y mae eu cyfrannogiad o gymmwynasau y testament, trwy eu *cymmundeb a gwaed Crist*, 1 Cor. x. 16.

Yn awr, oddiwrth y testunau hyn wedi eu cymharu, y mae yn ymddangos, fod y gweinyddiad o'r cyfammod gras yn disgyn ar Iesu Grist, yr ail Adda, yr hwn i'r dyben hyny a wnaethwyd yn Ysbryd yn bywhau, ac yn meddu yr oll o'r cyfammod ynddo ei hun.

Y mae y gosodiad hwn, o fetya gweinyddiad y cyfammod yn mherson y Cyfryngwr, Crist Iesu, ar unwaith wedi ei gyfaddasu i ogoniant Duw, a chyflwr pechaduriaid, ac anrhydedd Crist ei hun.

1. Y mae wedi ei gyfaddasu i ogoniant Duw, y blaid a anfoddlonwyd. Yn wyneb Iesu Grist, y gweinyddwr, y mae gogoniant Duw y cyfammod yn dyscleirio, 2 Cor. iv. 6. Y mae ei sancteiddrwydd di-frychau, a'i gyfiawnder ofnadwy, yn ymddangos yno; y'nghyd â'i gariad anghymharol, ei ryddaf ras, a'i dirionaf drugaredd. Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun; ac yr hwn â diogelwch ei ogoniant, yn rhoddi allan ei

heddwch a'i faddeuant yn rhad, heb un haeddiant yn y derbynwyr, (ac etto nid heb ddigonol foddlonrwydd i'w gyfiawnder, a iawn i'w anrhydedd oedd wedi cael cam;) megis oddiar orsedd gras wedi ei sefydlu ar gyfiawnder wedi ei foddloni, a barn wedi ei chyflawn gwblhau megis y sail gadarn i hyny.

2. Y mae wedi ei gyfaddasu i gyflwr pechaduriaid, y blaid a anfoddlonodd. Yn Nghrist, gweinyddwr y cyfammod, y mae iddynt a wnelont â Duw, yr hwn y mae pelydr ei ardderchawgrwydd, yr hwn nis gall yr euog edrych arno, wedi ei orchuddio â'r wisg o ddynoliaeth ddifrycheulyd. Y mae llonder den-gar yn ymddangos yn wyneb y gweinyddwr, "yn llawn gras a gwirionedd," Ioan i. 14. Ynddo ef y gallant weled eu hiachawdwriaeth mor ddrud i'r Duw a'i gwnaeth hwynt, fel y byddai iddo ef ei hun wisgo eu natur hwynt, i sefydlu cyfammod â'i waed ei hun, rhwng y nef a hwynt. Y mae efe yn wir ddyn, o'r un teulu o eiddo Adda a hwy eu hunain; at yr hwn gan hyny y gallant yn hyderus agoshau, gan uno eu hunain âg ef megis Pen y cyfammod: ac hefyd y mae efe, y gwir Dduw, yn ddiamheuol alluog i wneuthur y cyfammod yn effeithiol er eu hiachawdwriaeth hwynt, er eu holl annheilyngdod.

3. Y mae wedi ei gyfaddasu i anrhydedd Crist ei hun, y tangnefeddwr, yr hwn sydd yn meddu y gweinyddiad fel gwobr ei waith. Fe ddarfu i Joseph, ar ol iddo gael ei werthu yn gaeth-was, ymddwyn gydâ phob gostyngeiddrwydd, amynedd, a ffyddlondeb, yn y sefyllfa isel hono; yr hon a gafodd ar ol hyny, trwy holl-lywodraethol ragluniaeth, ei wobrwyo yn helaeth âg anrhydedd, yn ei waith ef yn cael ei ddyrchafu i fod yn gyd-was teyrnas yr Aipht, gan gael y gweinyddiad o'r holl deyrnas wedi ei gyflwyno iddo, Gen. xli. 17—22. Yn hyn yr oedd efe yn gysgod o Grist.

Fe ddarfu i'r Arglwydd Iesu, yn wirfoddol, ymostwng i'r man isaf o waradwydd a sarâad, gan gymmeryd arno agwedd caethwas, a darostwng ei hun yn yr agwedd hono, ie, *i angeu y groes;* a hyny i gyflawni ammod y cyfammod, er gogoniant Duw, a iachawdwriaeth ei bobl: ac am hyny fe'i dyrchafwyd ef i'r pinacl uchaf o anrhydedd, gan ei ddyrchafu ef i gynweisiad y nef, a rhoddi y gweinyddiad o'r cyfammod yn ei ddwylaw ef, i lywodraethu ar bob peth dan ei Dad; trwy yr hyn y rhoddwyd iddo enw yr hwn sydd goruwch pob enw, pa un bynag ai dynion ai angelion; a phob peth wedi ei ddarostwng dan ei draed ef, Phil. ii. 7—9. Eph. i. 20—23. Mewn golygiad at hyn, y mae efe yn aml yn cael ei alw yn Was y Tad, sef, ei Was urddawl ef; ac y mae ei anrhydedd ef dan yr enw hwnw, yn aml yn cael ei addaw, i fod yn fawr iawn, Esai. xlix. 6 a'r lii. 13, 14, 15. Zec. iii. 8. ynghyd â'r vi. 12, 13.

Ac megis y bydd i'r cyfammod tragywyddol barhau i fod yn sylfaen a rheol goruchwyliaethau Duw tu ag at ei bobl byth mwy, trwy y gosodiad o hono, a gweinyddiad y cyfammod yn mherson Crist; y mae efe i feddiannu yr urddas a'r anrhydedd hyn yn oes oesoedd. Canys *wrth y Mab,* y dywedir, "Dy orsedd-fainc di, O Dduw, sydd yn oes oesoedd," Heb. i. 8. Ie, *ac ar ei frenhiniaeth hi,* yr hon sydd wedi ei rhoddi iddo, hyny yw, ei deyrnas gyfryngol a'r gweinyddiad, *ni bydd diwedd,* Luc i. 33. Y mae yr amser yn dyfod; yn wir, yn yr hwn y bydd iddo ef "roddi y deyrnas i Dduw a'r Tad;" gan gyflwyno iddo ef, yn y dydd diweddaf, yr holl eglwys, a phob aelod o honi, wedi eu dwyn, trwy ei weinyddiad ef, yn ol ei awdurdodiad, i sefyllfa o berffeithrwydd. Ac "yna y bydd y diwedd," 1 Cor. xv. 24. sef diwedd y byd, eithr nid diwedd ei weinyddiad ef; o herwydd wedi ei osod ef yn weinyddwr y cyfammod, "efe a

roddes iddo lywodraeth, a gogoniant, a brenhiniaeth: ei lywodraeth sydd lywodraeth dragywyddol, yr hon nid â ymaith," (megis yr â y byd, 1 Cor. vii. 31.) "a'i frenhiniaeth ni ddyfethir," (megis y dyfethwyd y pedair brenhiniaeth arall i gyd,) Dan. vii. 14.

Ac yn y modd hyn yr ydym wedi gweled mai Crist yw y person, ar yr hwn y mae gweinyddiad y cyfammod yn disgyn.

II. *Pechaduriaid o ddynolryw y gwrthddrych o weinyddiad y cyfammod.*

Y gwrthddrych o weinyddiad y cyfammod yw pechaduriaid o ddynolryw yn annherfynedig: hyny yw, y mae Crist wedi ei alluogi, trwy awdurdod oddiwrth y Tad, i weinyddu y cyfammod gras i unrhyw rai o holl ddynol-ryw, y pechaduriaid o deilu Adda, heb un gwrthddadl: y mae efe wedi ei awdurdodi i'w derbyn hwynt i'r cyfammod, ac i anrhegu arnynt yr holl gymmwynasau sydd ynddo, er eu tragywyddol iachawdwriaeth; yn ol trefn sefydledig y cyfammod. Y mae etholiad personau neillduol yn ddirgelwch, nad yw i gael ei ddatguddio yn ngweinyddiad y cyfammod, yn ei y drefn sefydledig o hono, hyd y cyfryw amser ag y byddo y pechadur wedi derbyn y cyfammod trwy ddyfod yn bersonol iddo ef. Ac nid yw helaethder y gweinyddiad yn cael ei sylfaenu ar etholedigaeth, eithr ar ddigonolrwydd ufudddod a marwolaeth Crist, er iachawdwriaeth i bawb *a gredont:* nid yw ychwaith yn cael ei reoleiddio wrth hyny, eithr yn ol y cyflawnder o awdurdod a roddwyd i Iesu Grist, yn y nef ac ar y ddaear, megis gwobr ei waith yn dyfod yn ufudd, ie, hyd angeu.

I gadarnhau y gwirionedd hwn, bydded i'r pethau canlynol gael eu hystyried.

1. Yr anrheg a wnaeth y Tad o Grist wedi ei groeshoelio, fel ei ordinhad er iachawdwriaeth i

bechaduriaid colledig o ddynol-ryw. Yn achos yr Israeliaid yn yr anialwch, wedi eu brathu gan y seirff tanllyd, fe sefydlodd Duw ordinhad er eu gwellhad hwynt, sef, sarff bres, wedi ei dyrchafu ar drostan; ac a wnaeth anrheg o hòni i bwy bynag a'i defnyddiau hi i'r dyben hyny, trwy edrych arni. Nid oedd neb ac oedd ag eisiau ei iachâu, yn cael ei adael allan: yr oedd yr anrheg yn cael ei hamgyffred yn y modd mwyaf helaeth, Num. xxi. 8. "A phawb a fratheř, ac a edrycho ar hòno, a fydd byw." Felly, a holl ddynol-ryw wedi eu brathu gan yr hen sarff, y diafol, a phechod fel ei wenwyn marwol ef wedi ei adael ynddynt, fe sefydlodd Duw Iesu Grist yn ordinhad y nef, er eu hiachawdwriaeth hwynt. Y mae gair o Ddwyfol osodiad, wedi passio ar Grist croeshoeliedig, yn ei wneuthur a'i sefydlu ef yn ordinhad Duw er iachawdwriaeth pechaduriaid: ac y mae Duw wedi gwneuthur anrheg o hono ef, fel y cyfryw, i bwy bynag o hil golledig Adda ag a wnelo ddefnydd o hono i'r dyben hyny, trwy gredu ynddo ef; yn yr hon anrheg, nid oes neb o'r byd o ddynol-ryw yn cael eu cau allan. Y mae hyn oll yn amlwg oddiwrth Ioan iii. 14—16. "Ac megis y dyrchafodd Moses y sarff yn y diffeithwch, felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn: fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol. Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Yn awr, a gweinyddiad y cyfammod wedi ei sefydlu er y cyflawniad o'r anrheg hon, ac yn hyny wedi ei roddi er gwobr i ufudd-dod y Cyfryngwr, nis gall gwrthddrych y blaenaf fod yn gyfyngach nâ gwrthddrych yr olaf.

2. Y mae awdurdodiad y Cyfryngwr i'r gweinyddiad, yn cael ei amgyffred yn y geiriau mwyaf

helaeth; ac y mae efe wedi ei wisgo â'r awdurdodau mwyaf helaeth mewn perthynas i'r alwad hôno. Y mae yn dwyn ei weinyddiad ef o'r cyfammod, nid yn unig at yr addfwyn, y tlawd, a'r drylliedig o galon; eithr at y caethion, y deillion, yr anafus, y carcharorion, a'r rhai sydd yn rhwym wedi tòri, ac wedi gwerthu eu hetifeddiaeth eu hunain, ac nas gallant gael un gobaith o ymwared ond trwy Jubilee, Luc iv. 18, 19. y'nghyd âg Esai. lxi. 1, 2. Pa fath bechaduriaid o ddynolryw a all un ei ddychymmygu, na ddaw i mewn dan ryw un o'r enwau hyn? Y mae Crist, yn wir, wedi ei roddi yn gyfammod y bobl; nid y bobl hyn neu y bobl accw, eithr y bobl yn annherfynedig. *Y mae pob awdurdod wedi ei roddi iddo yn y nef ac ar y ddaear*, Mat. xxviii. 18. Felly nid oes neb ar y ddaear yn cael ei ddyeithro oddiwrth ei weinyddiad ef o'r cyfammod iddo. Y mae efe wedi ei awdurdodi i achub y byd euog, sydd yn golledig yn ol y gyfraith, trwy weinyddu y cyfammod iddynt: "Oblegid ni ddanfonodd Duw ei Fab i'r byd i ddamnio'r byd, ond fel yr achubid y byd trwyddo ef," Ioan iii. 17. yn gymmaint ag mai efe yw ordinhad Duw "i dynu ymaith bechodau y byd," pen. i. 29. er bod llawer o'r rhai y mae efe yn cynnyg y cyfammod iddynt, yn ei wrthod ef, ac felly o ganlyniad heb eu hachub. Yn ganlynol, oddiwrth y cyflawnder hwn o awdurdod, y mae efe yn rhoddi allan y cynnygiad cyffredinol o'r efengyl; yn yr hon y cyhoeddir croesaw i bawb, yn ddiwrthddadl, i ddyfod a sugno o fronau Dwyfol ddiddanwch yn y cyfammod, Mat. xi. 27, 28. "Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad. Deuwch ataf fi, bawb ag y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch." Pen. xxviii. 18, 19. "Rhoddwyd i mi bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear. Ewch gan hyny a dysgwch yr holl genhedloedd." Marc xvi. 15.

"Pregethwch yr efengyl i bob creadur."

3. Y mae efe yn cwblâu ei swydd mewn modd dirwystro, gan weinyddu y cyfammod i unrhyw bechadur o ddynolryw, Diar. viii. 4. "Arnoch chwi, wŷr, yr wyf fi yn galw; ac at feibion dynion y mae fy llais." Gwrthddrych ei weinyddiad ef yw, nid y blaid hyn, neu y blaid arall, o ddynolryw, dan yr enw hwn, neu yr enw arall; eithr dynion, unrhyw ddynion, meibion dynion yn annherfynedig. Felly, y mae yr efengyl, yn yr hon y mae efe yn gweinyddu'r cyfammod, yn "newyddion da i'r holl bobl," Luc ii. 10. *Gwledd* wedi ei gwneuthur i'r *holl bobloedd*, Esai. xxv. 6. er bod llawer, trwy beidio blasu y newyddion, nad ydynt byth yn profi y wledd. Yn gyfattebol i hyn, efe a awdurdododd ei apostolion mewn geiriau o'r fath, nas gall neb ddychymmygu rhai mwy ëang, Marc xvi. 15. "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur." Yr oedd yr Iuddewon yn galw dyn yn *greadur*, megis yn bod yn greadur Duw, mewn ffordd o enwogrwydd: felly, wrth bob creadur, y meddylir pob dyn. Y mae rhai dynion yn y byd, y rhai, o herwydd eu hanferth ddrygioni, sydd yn debyg i ddiaflaid; ac y mae dynion ereill, y rhai, o herwydd eu gwylltineb a'u creulondeb, nad ydynt yn gwahaniaethu ond ychydig, yn eu hymddygiad, oddiwrth anifeiliaid: eithr y mae ein Harglwydd yn dywedyd yma, mewn effaith, "Byddent y peth a fyddont, os gallwch ond gwybod eu bod hwy yn ddynion, na ofynwch un gofyniad yn eu cylch ar y pen hwn, pa fath ddynion ydynt: gan eu bod yn ddynion, pregethwch yr efengyl iddynt; cynnygwch y cyfammod iddynt; ac os derbyniant ef, rhoddwch ei seliau ef iddynt: fel y creodd fy Nhad hwynt; minnau a'u hachubaf hwynt.

4. Os gwnawn chwilio pwy ydynt hwy, â'r rhai y mae Crist yn dwyn perthynas fel Iachawdwr;

neu, Iachawdwr pwy yw efe, yn ol yr ysgrythyr? Ni a gawn, wrth ei ystyried ef yn Iachawdwr gweithredol, yn achub yn wirioneddol yn y diwedd, nad yw efe yn ddiau ond *Iachawdwr y corff*, Eph. v. 23. Eithr wrth ei ystyried ef yn Iachawdwr swyddol, yn Iachawdwr yn ol swydd, y mae efe yn *Iachawdwr y byd*, Ioan iv. 42. 1 Ioan iv. 14. Yn y modd hyn, y mae dyn, trwy gael ei awdurdodi i fod yn feddyg cymdeithas, yn feddyg yr holl gymdeithas yn ol swydd; ac felly yn sefyll mewn perthynas â phob dyn o honynt fel ei feddyg ef: er hyny, nid yw efe yn feddyginiaethwr gwirioneddol i neb o honynt, ond y rhai a'i rhoddo ef ar waith. Er i rhai o'r gymdeithas hòno beidio a'i roddi ef ar waith un amser, eithr galw o honynt feddyg arall ar bob achos, etto efe o hyd yw eu meddyg hwynt yn ol swydd; er iddynt farw o'u hafiechyd, trwy fod yn wrthwynebol i'w alw ef, etto y mae yn wir o hyd, mai efe oedd eu meddyg hwynt; yr oedd ganddynt hawl i'w alw ef, a chael ei feddyginiaethau; ac arnynt hwy yn hollol yr oedd y bai na buasent yn cael eu hiachau ganddo ef. Yn yr un modd, y mae gan ein Harglwydd Iesu Grist fraint-lythyr y nef, yn ei osod ef yn "Iachawdwr y byd;" trwy awdurdod ei Dad y mae efe wedi ei urddo â'r swydd hòno: ac i ba le bynag y mae yr efengyl yn dyfod, y mae ei fraint-lythyr ef, i'r dyben hyny yn cael ei arwyddo, 1 Ioan iv. 14. "A ninnau a welsom, ac ydym yn tystiolaethu, ddarfod i'r Tad ddanfon y Mab i fod yn Iachawdwr i'r byd." O herwydd pa ham, ni threnga neb o honom o eisiau Iachawdwr. Iesu Grist yw "Iachawdwr y byd;" efe yw eich Iachawdwr chwi, a'm Iachawdwr innau, bydded ein cyflwr y peth a fyddo: ac y mae Duw yn a thrwyddo ef yn "Achubydd pob dyn, yn enwedig y ffyddloniaid," 1 Tim. iv. 10. Oddiyma y mae iachawdwriaeth Crist yr "iachawdwriaeth gyff-

redinol," Judas 3. A'r efengyl yw "gras Duw, yr hwn sydd yn dwyn iachawdwriaeth i bob dyn," Tit. ii. 11. Y mae Crist, gan hyny, yn sefyll mewn perthynas fel Iachawdwr, trwy swydd, â'r byd o ddynolryw; efe yw eu Hiachawdwr hwynt: ac y mae efe yn dwyn perthynas felly â phob un o honynt fel pechaduriaid, pechaduriaid colledig o'r gymdeithas hòno, 1 Tim. i. 15. "Daeth Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid." Luc xix. 10. "Mab y dyn a ddaeth i geisio ac i gadw yr hyn a gollasid." Na ddyweded un dyn, "Och! nid oes i mi ddim a wnelwyf â Christ, nac yntau â minnau; o herwydd yr wyf fi yn bechadur, yn bechadur colledig." Na, ar y sail yna yn unig y mae perthynas rhyngddo ef a thydi. Gan dy fod di yn bechadur o ddynolryw, Crist yw dy Iachawdwr di; o herwydd y mae efe, trwy swydd, yn Iachawdwr y teulu, yr hwn yr wyt ti yn gangen o hono. Os gwnewch osod neb arall ond efe ar waith, neu ddihoeni ymaith yn eich afiechyd, yn hytrach nâ gosod eich hunain yn ei ddwylaw ef, gwnewch hyny ar eich perygl: eithr gwybyddwch yn ddiau, fod i chwi Iachawdwr sydd yn eiddo i chwi, wedi ei ddewis gan Dduw i chwi, pa un bynag a wneloch ai osod ef ar waith, ai peidio. Y mae efe, yn ol gosodiad ei Dad, yn feddyg eneidiau, chwithau yw y cleifion, a pha leiaf yr ydych yn ei deimlo, mwyaf peryglus yw y clefyd: y mae perthynas werthfawr, gan hyny rhwng Crist a chwi, fel y cyfryw, Mat. ix. 11, 12. Efe yw cludwr mawr y baich, sydd yn rhoddi esmwythder i'r rhai blinderog a llwythog, Mat. xi 28. Psal. lv. 22. Yr ydych chwi yn flinderog, yn gwario eich llafur am yr hyn nid yw yn digoni; ac yn llwythog o gamweddau, ie, yn drwm-lwythog, ac nid yn llai felly am nad ydych yn deimladwy o hyny: y mae perthynas gan hyny rhwng Crist a chwi, ar gyfrif hyny yn unig. Yn awr, os yw Crist yn sefyll

mewn perthynas a'r byd o bechaduriaid o ddynol-ryw, fel eu Hiachawdwr hwynt, yna hwynt-hwy yw gwrthddrych ei weinyddiad ef o'r cyfammod.

Yn ddiweddaf, pe na byddai felly, yno fe fyddai rhai personau yn cael eu gadael allan, o'r byd o bechaduriaid o ddynol-ryw, i'r rhai nid oes un warant, mwy nag i gythreuliaid, i gymmeryd gafael ar y cyfammod trwy gredu yn Nghrist; yr hyn sydd yn wrthwyneb i leferydd gwastadol yr efengyl, Ioan iii. 16. Marc xvi. 15. O herwydd yn ddiau, nid oes ganddynt hwy un warant i ymaflyd yn y cyfammod, sef y rhai nid yw y gweinyddwr wedi ei awdurdodi i'w roddi ef iddynt. Pa rai o'r byd o bechaduriaid o ddynol-ryw a all y personau hyn sydd wedi eu gadael allan fod? Nid Ethniciaid, ac anffyddloniaid ereill, y rhai nid yw yn clywed yr efengyl: o herwydd, er yn nyfnder pen-arglwyddiaethol ddoethineb, nad yw y warant hòno wedi ei gwneuthur yn adnabyddus iddynt hwy, etto y mae hi yn ddiau yn cyrhaedd atynt hwy, megis y mae yn gynnwysedig yn y gair cyffredinol hwnw *pwy bynag*, Ioan iii. 16. A phe na byddai hi yn cyrhaedd atynt hwy, nis gallai y cyfammod, mewn modd cyfreithlon, gael ei bregethu a'i gynnyg iddynt hwy gan weinidogion yr efengyl; mwy nag y gallai criwr fyned mewn modd cyfreithlon a chyhoeddi a chynnig digolledrwydd y brenin, i'r rhai nad oes iddynt un berthynas âg ef, eithr wedi eu gadael allan o hono. Y mae gweinyddawl gynnygiad yr efengyl, yn ddiamheuol, yn ddirym a diddim, mor belled ag y mae ef yn myned dros derfyn gwrthddrych gweinyddiad Crist o'r cyfammod, gan ei fod mor bell a hyny dros ben yr awdurdod sydd gan un i'w gynnyg ef. Nid oes neb ychwaith ag y sydd yn clywed yr efengyl yn cael eu gadael allan: o herwydd, peidio cymmeryd gafael yn y cyfammod trwy gredu yn Nghrist, yw pechod mawr a damnedigaeth pawb, o'r rhai sydd

yn clywed yr efengyl, ac yn ei thrin hi felly, Diar. viii. 36. Ioan iii. 19. Marc xvi. 16. Eithr pe byddent wedi eu gadael allan, nis gallai fod yn bechod y cyfryw bersonau; o herwydd nis gall fod yn bechod i ddyn beidio gwneuthur y peth nid oes ganddo un warant oddiwrth Dduw i'w wneuthur ef. Llawer llai y mae yr anetholedig wedi eu gadael allan: o herwydd yn y modd hyny, nid yn unig, ni byddai eu hangrhediniaeth hwynt yn bechod iddynt, eithr nis gallai yr etholedigion eu hunain byth gredu, hyd oni byddai eu hetholedigaeth yn y lle cyntaf yn cael ei ddatguddio iddynt, yr hyn sydd yn wrthwyneb i'r drefn osodedig o ras: o herwydd nis gall neb gredu yn Nghrist, hyd oni byddo iddo unwaith weled ei warant; gan mai y warant hòno yw sylfaen ffydd.

O herwydd paham, yr ydym yn penderfynu, mai pechaduriaid o ddynolryw, yn annherfynedig, yw gwrthddrych gweinyddiad Crist o'r cyfammod; a'i fod ef wedi ei awdurdodi i'w weinyddu ef i chwi, a phob un o honoch chwi, pa beth bynag ydych neu a fuoch; a bod yn rhaid i chwi un ai cymmeryd gafael yn y cyfammod er bywyd a iachawdwriaeth, neu drengu fel dirmygwyr o hono, gan eich bod wedi clywed yr efengyl.

III. *Y dybenion o weinyddiad y cyfammod.*

Y dybenion o weinyddiad y cyfammod, yr hyn sydd yn gwneuthur i fynu orchwyliaeth y gweinyddiad, fel y cyfryw, yw y tri hyn; sef, 1. Y dygiad o bechaduriaid i'r cyfammod; 2. Y triniad o honynt ynddo, yn ol y cyfammod, yn y byd hwn; ac yn 3ydd, Y perffeithiad o'u dedwyddwch hwynt, yn ol y cyfammod, yn y byd arall.

1. Y dygiad o bechaduriaid yn bersonol ac yn gadwedigol i'r cyfammod, Esai. xlix. 5. "Ac yn awr, medd yr Arglwydd, yr hwn a'm lluniodd o'r groth yn was iddo, i ddychwelyd Jacob ato ef, er nad ymgasglodd Israel, etto gogoneddus fyddaf

fi y'ngolwg yr Arglwydd." Er bod y cyfammod mewn bod er tragywyddoldeb, pan nas gallasem ni na chydsynio nac anghydsynio, etto, yn ol y sefydliad o hono y mae wedi ei ddarparu felly, i un-rhyw bechadur o genedl Adda, yr hwn a gredo, ie, hyd ddiwedd amser, fel y bydd ei dderbyniad a'i gofleidiad ef o'r cyfammod trwy ffydd, yn gystal ac mor gadarn i ddyfod ag ef i mewn iddo, a phe buasai efe wedi ei is-'sgrifenu ef yn bersonol ar y gwneuthuriad o hono, Ioan iii. 16. Yn y modd hyn y mae ef wedi ei adael yn agored i bechaduriaid o ddynol-ryw, fel y gallont ddyfod i mewn iddo, gan gymmeryd lle ynddo dan Grist y pen; ac felly yn dyfod yn gyngreirwyr personol â'r nef, er eu tragywyddol iachawdwriaeth. Ac y mae digon o le, o fewn cwmpas anfeidrol enw yr ail Adda, i ni oll i dan'sgrifenu ein henwau bychain. O herwydd paham, er yr oll sydd wedi tan'sgrifenu eisoes yn yr enw hwnw, gan ddywedyd, "Eiddo yr Arglwydd ydwyf," hyny yw, yr Arglwydd Crist, Esai. xliv. 5. oddiar pan y gosododd Efa ei henw i lawr yno, trwy gredu yr addewid yn gyntaf, trwy yr hyn y dechreuodd hi y pryd hyny, ac yn ddiau *oedd fam pob dyn byw*, Gen. iii. 20, etto llef yr efengyl o hyd yw, ac a fydd yn ddiau hyd y diwedd, "Ac etto y mae lle." Luc xiv. 22. Er rhagddangosiad o hyn, yr oedd arch Noah, trwy drefniad y nef, wedi ei gwneuthur oll yn *gellau bychain*, Gen. vi. 14. yn cael eu galw ar ymyl y ddalen yno yn *nythau*. Yn awr, y mae y Cyfryngwr wedi ei awdurdodi i ymdrin â phechaduriaid, gwrthryfelwyr yn erbyn Duw, a deiliaid o deyrnas Satan, i'w dwyn hwynt drosodd i ochr y nef drachefn; ac i'r dyben hyny, i weinyddu y cyfammod, a'i gynnyg ef iddynt hwy, a'u casglu hwynt o fewn ei rwymyn ef. O herwydd paham, wedi myned allan ar y neges hono, y mae efe yn tystiolaethu ei ddifrifwch yn y gwaith, Mat. xxiii. 37. "Pa sawl gwaith y mynaswn gasglu dy blant

y'nghyd!" ac yn cyhoeddi ei hun yn *ddrws y defaid*; Ioan x. 7. 9.

2. Y triniad o honynt yn y cyfammod, yn ol y cyfammod, dros amser eu harosfa yn y byd hwn. Pan y mae pechadúriaid, trwy weinyddiad y Cyfryngwr, wedi eu dwyn o fewn rhwym y cyfammod, nid ydys, o hyny allan, yn ymddiried iddynt am y triniad o honynt eu hunain a'u hystôr; eithr a'u hystôr wedi ei lettya gydâg ef, y maent yn cael eu gosod dan ei law ef, fel eu hunig reolwr, y pen *Bugail ac Esgob eu heneidiau*, i arolygiad yr hwn y mae y crwydraid, ar ol iddynt gael unwaith eu dychwelyd, yn cael eu cyflwyno, 1 Pedr ii. 25. Pa beth bynag y maent mewn angen o hono, y mae yn rhaid iddynt ei dderbyn oddiwrtho ef: efe sydd i gyfranu holl gymmwynasau y cyfammod, o ba ryw bynag y byddont, iddynt hwy. A ydynt hwy i gael eu cyfiawnhau? Efe sydd i basio y farn, "Maddeuwyd i ti dy bechodau," Mat. ix. 2. 6. A ydynt hwy i gael eu dwyn i berthynas newydd achubol â Duw? Efe sydd i roddi "iddynt allu i fod yn feibion i Dduw," Ioan i. 12. A ydynt hwy i gael eu santeiddio? Efe sydd i'w golchi hwynt, a'u santeiddio, a'u glanhau, Ioan xiii. 8. Eph. v. 26. ac i roddi iddynt edifeirwch, yn gystal a maddeuant pechodau, Act. v. 31. A ydynt hwy i gael modd i barhau hyd y diwedd? Efe sydd i'w cadw hwynt, ac i roddi cyfrif am bob un o honynt i'w Dad, Ioan xvii. 12. A ydynt hwy i gael gofalu am danynt, yn eu holl achosion tymhorol? Y mae eu gofal hwynt i gyd yn gorwedd arno ef, 1 Pedr v. 7. Efe yw ein Joseph ni, yr hwn y mae holl ystôr y cyfammod yn ei law: ac am dano ef y dywedodd Duw, megis y dywedodd Pharaoh wrth ei bobl oedd ar drengu gan newyn, yn gwaeddu arno ef am fara, *Ewch at Joseph*, Gen. xli. 55. Y'mhellach, y mae yn rhaid iddynt dderbyn eu holl osod-

iadau oddiwrtho ef, mewn perthynas i'w dyledswydd y'mhob pwnc. Y mae yn rhaid iddynt dderbyn y gyfraith o'i enau ef; gan mai trwyddo ef y mae Duw yn llafaru wrthynt hwy, yn ol trefn y cyfammod: o herwydd pa achos y mae Duw wedi rhoddi gorchymyn difrifol i holl bobl y cyfammod, gan ddywedyd, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd: gwrandewch arno ef," Mat. xvii. 5.

Yn ddiweddaf, y perffeithiad o'u dedwyddwch, yn ol y cyfammod, yn y byd arall, Eph. v. 27. "Fel y gosodai efe hi yn ogoneddus iddo ei hun; yn eglwys heb arni na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw." Cysur y credinwyr yw, fod Iesu Grist yn gweinyddu y cyfammod yn y byd hwn; felly, fel i ba ran bynag o hono y dichon iddynt gael eu gyru, nis gallant byth gael eu gyru i un parth, lle nid yw ei weinyddiad ef yn cyrhaedd. Er hyny, y mae y rhan fwyaf gogoneddus o'i weinyddiad ef yn cymmeryd ei le yn y byd arall: o herwydd yn y nef y mae addewidion y cyfammod yn cael eu perffaith gyflawniad; yr hyn sydd yn gwneud y nef yn artref y credinwyr. "O! ond y mae y dramwyfa rhwng y ddau fyd yn un dywyll, beryglus, a dilewyrch! Pwy a all, heb ddychryn, feddwl am Iorddonen angeu, a goror tywyll y bedd?" Er hyny fe ddylai pobl gyfammodol Duw gofio, fod gan eu Harglwydd oruchwyliaeth yn y dramwyfa, yn gystal ag ar bob ochr iddi. Y mae llinell y cyfammod wedi ei thynu trwyddi hi, yn gwneuthur llwybr, ar hyd yr hwn y mae y prynedigion yn myned yn ddiogel. Felly yno hefyd y mae golygfa gweinyddiad Crist o'r cyfammod; "y mae ganddo ef agoriadau uffern a marwolaeth," Dat. i. 18. Y mae ef yn wendid mawr, i feddwl nad yw efe, yn unig, ond fel pe bai yn sefyll ar yr ochr arall i'r afon, i gyfarwyddo y credadyn yn ei dramwyfa, ac yn barod i'w dderbyn ef pan y delo i dir: na, y mae yn gorphwys arno ef, fel gwein-

yddwr y cyfammod, hyd y nod i fyned i mewn i'r dwfr gydâ'r ymdeithydd, i'w gymmeryd ef dan ei fraich, a myned rhyngddo ef a'r ffrwd, i dòri ei grym hi ato ef, a'i ddwyn ef yn ddiogel i dir. Psal. xxiii. 4. "Pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angeu, nid ofnwn niwed: canys yr wyt ti gydâ mi." Yn ngwaith yr Israeliaid yn myned drosodd i Gauaan, yr arch a aeth yn gyntaf i'r Iorddonen, ac oedd ddiweddaf yn dyfod allan, wedi bod yno nes i'r holl bobl fyned drosodd, Jos. iii. iv. A'r arch yn gysgod o Grist, megis yr oedd Canaan o'r nef, y mae hyn yn dysgu i ni, y bydd gan ein Hargl-wydd Iesu orchwyliaeth yn y dramwyfa rhwng y ddau fyd, cyhyd ag y mae un o'i bobl ef i dramwy y ffordd hòno; ac na bydd i'w weinyddiad ef yno, byth ddarfod, hyd oni byddo i'r dyn diweddaf o fewn rhwym y cyfammod gael ei osod yn ddiogel ar y lan yr ochr draw. Wedi i hyn gael ei wneuthur, y mae efe i weinyddu y cyfammod iddynt hwy yno hefyd, gan berffeithio eu ded-wyddwch hwynt, trwy berffaith gyflawniad o'r holl addewidion o hono, iddynt hwy. Megis mai Iesu yw Pen-tywysog ein ffydd ni, efe hefyd yw ei Pherffeithydd hi, Heb. xii. 2. Yn yr hwn destun y mae cyfeiriad at y rhedegfeydd enwog yn y'mhlith y Groegiaid gynt, yn y rhai yr oedd un yn agór yr yrfa, yn ei rhedeg hi, ac yn arwain y lleill i gyd; ac arall, yr hwn oedd wedi ei osod ar orsedd ar ddiwedd yr yrfa, ac yn rhoddi y gamp-dlŵs i'r hwn a'i hynnillai ef. Yn yr yrfa ys-brydol, y mae Crist yn cyflawni y ddau beth hyn. Megis y cyflawnwr o ammod y cyfammod; yn yr yrfa o'i ufudd-dod, yn yr hon y "dyoddefodd y groes, gan ddiystyru gwaradwydd," efe yw Pen-tywysog ein ffydd ni, neu, y Pen-arweinydd, yn bendant yn cael ei alw yn *Rhag-flaenór*, Heb. vi. 20. yn ei waith yn "dwyn meibion lawer i ogoniant," pen. ii. 10. Yna, fel y gweinyddwr o'r cyfammod, efe yw perffeithydd ein ffydd ni,

neu y gorphenwr, yr hwn sydd yn rhoddi y goron i'r rhedegwyr, ac yn *eistedd ar ddeheu-law gorsedd-fainc Duw*. Ac yn y modd hyn, ei orchwylef yw gosod y goron o ogoniant ar benau y rhai hyny y darfu iddo trwy ei ras eu gwneuthur hwynt yn orchfygwyr. O'i law ef yr oedd Paul yn ei dysgwyl hi, 2 Tim. iv. 8. "O hyn allan rhoddwyd coron cyfiawnder i'w chadw i mi, yr hon a rydd yr Arglwydd, y Barnwr cyfiawn, (sef, Crist, Barnwr y byd,) i mi yn y dydd hwnw." Iddo ef y perthyn caniatâu i'r gorchfygwyr gael "eistedd gydâg ef ar ei orsedd-fainc," Dat. iii. 21. Ac am hyny nis gallaf lai nâ meddwl, y gall y testun, Mat. xx. 23. gael ei ddarllen mewn modd diogel, heb yr ad'chwanegiad, "Eistedd ar fy llaw ddeau ac ar fy llaw aswy, nid eiddof fi eu rhoddi; ond i'r sawl a ddarparwyd gan fy Nhad." Felly, y mae y gair *ond* yn cael ei ddefnyddio mewn ffordd o gau allan, 2 Cor. ii. 5. a Marc ix. 8. Y mae y cyflawnder o awdurdod a roddwyd i'r Cyfryngwr, yn cymmeryd i mewn bob awdurdod yn y nef, yn gystal ag ar y ddaear: yn ganlynol, efe a barotôdd y lle i'w amrywiol bobl yn nhŷ ei Dad, gan fod yr oll ganddo at ei driniad fel gweinyddwr y cyfammod. Ac y mae efe i weinyddu y cyfammod iddynt hwy, nid yn unig ar eu mynediad cyntaf i ardaloedd gwynfyd, eithr o hyd dros oesoedd tragywyddoldeb; megis mai efe yw tragywyddol rwymyn undeb, a chyfrwng rhydd-dramwy rhwng Duw a'r saint dros byth. Heb. vii. 25. Dat. vii. 15.

A thyma ddybenion gweinyddiad y cyfammod. Y peth sydd yn canlyn yw:

IV. *Natur y gweinyddiad o'r cyfammod.*

Y mae natur y gweinyddiad hwn yn cynnyg ei hun i'n golwg ni, yn y perthynasau sydd rhwng Crist a'r cyfammod, megis y mae efe yn weinyddwr o hono. Yr ydym wedi gweled eisoes, i Grist ddyfod yn Gyfryngwr y cyfammod, yn sy-

weddol ac yn swyddol; ac a sylwasom, fod ei weinyddiad swyddol ef yn rhedeg trwy yr oll o'r cyfammod: ac yr ydym wedi cymmeryd sylw o berthynas dri-phlyg o'i eiddo ef âg efe, sef, ei fod, 1. Y Gwaredwr-cyfathrachol ynddo; 2. Y Machniydd ynddo; ac yn 3ydd, Yr Offeiriad yn aberthu, ynddo: yr hyn ranau o'i gyfryngdod ef, mewn golygiad ar ammod y cyfammod, sydd yn perthyn i'r gwneuthuriad o hono. Ni a gawn yn awr ystyried ei berthynasau ereill ef â'r cyfmod, sef y rhanau hyny o'i gyfryngdod ef, y rhai, mewn golygiad ar addewidion y cyfammod, sydd yn perthyn i'r gweinyddiad o hono. A'r pump hyn ydynt, 1. Efe yw Ymddiriedolwr y cyfammod; 2. Testamentwr y cyfammod; 3. Proffwyd y cyfammod; 4. Brenin y cyfammod; ac yn 5ed, Cyfryngwr y cyfammod: pob un o'r rhai sydd yn sillaf o'r *enw sydd goruwch pob enw*, a roddwyd iddo ef gan y Tad, megis gwobr ei waith. Wrth olygu y rhai'n mewn trefn, fe wna natur gweinyddiad y cyfammod ymddangos yn amlwg.

I. *Crist yw Ymddiriedolwr y Cyfammod.*

Ein Harglwydd Iesu, fel gweinyddwr, yw ymddiriedolwr y cyfammod; a chanddo y cyfammod, a'i holl gymmwyasau, wedi ei gyflwyno i'w gadwraeth, Col. i. 19. "Oblegid rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef." Fe ddarfu i'n Prynwr bendigedig gael ei berffaith addasu i'r ymddiried hwn, y mwyaf o bob ymddiried, rhy fawr i un unig ddyn nac angel; ac felly, fe'i gosodwyd ef ar dŷ Dduw, a'r pethau mwyaf gwerthfawr perthynol iddo, wedi eu gosod dan ei law ef. Y mae efe yn cael dyfodfa at yr hyn sydd yn cael ei selio i fynu oddiwrth yr angel uchaf; y mae efe yn cael ymddiried iddo i *ddattod y seliau*, canys efe sydd deilwng, Dat. v. 2—5. Nid yw y Duw santaidd ac eiddigus yn *rhoddi ymddiried yn ei wasanaethwyr*, "ac yn erbyn ei angelion y gosododd ynfydrwydd:" o herwydd yr oeddent yn gyfeiliornadwy

ac yr oedd posiblrwydd o iddynt fradychu yr ymddiried, Job iv. 18. Eithr fe ryngodd bodd iddo ef i ymddiried i'r bendigedig Iesu, fel ynddo ef, fel gweinyddwr anffaeledig, y byddai *i bob cyflawnder drigo*.

Yr oedd yr ymddiried uchel hwn yn gyn-arch angenrheidiol i'r gweinyddiad: ac am hyny, ar ei waith ef yn ymrwymo i gyflawni ammod y cyfammod, yr hyn a gyfrifwyd yn y nef mor sicr a phe buasai hi wedi ei chyflawni yn weithredol, fe wnaethwyd holl gymmwynasau y cyfammod drosodd iddo ef, nid yn unig mewn pwnc o hawl, eithr fe'u traddododd hwynt drosodd i'w law ef, yn feddiant gwirioneddol, fel y byddai iddo eu cyfranu hwynt i bechaduriaid, yn ol y drefn a osodwyd ger bron, ac y cytunwyd ynddi, yn hyny. Ioan iii. 35. "Y mae y Tad yn caru y Mab, ac efe a roddes bob peth yn ei law ef." Mat. xi. 27, 28. "Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad. Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch." Oddiyma yr oedd yr achos o iddo ef fyned i'r gweinyddiad o'r cyfammod yn hir cyn ei gnawdoliaeth; hyd y nod mor fuan ag yr oedd un lle i'r gweinyddiad o hono, yr hyn oedd yn Mharadwys, ar ol y cwymp: er i'r difrif-ddwysder o'i urdd-osodiad ef, a'i waith yn cymmeryd meddiant, gael ei gadw yn ol hyd ei esgyniad ef i'r nef, pan y gosodwyd y dyn Crist ar *ddeheulaw Duw*, Gen. iii. 8. 15. Psal. lxviii. 18. Eph. i. 20, 21.

Yn y modd hyn, y mae cyflawnder y cyfammod ynddo ef; ac y mae yr ymddiried hwn yn gosod anchwiliadwy oludoedd Crist, mewn modd nas gallwn ni yn bennodol eu llech-resu *(inventoried)* hwynt, gan eu bod yn anchwiliadwy. Eithr, yn gyfattebol i'r hyn a ddywedwyd o'r blaen, ni a gawn, er agoriad arnynt, nodi y pethau canlynol.

1. Y mae gwiliadwriaeth anweledig y cyfammod dan ei law ef. Y mae pob awdurdod wedi

ei roddi iddo ef, ar bethau naturiol ac ysbrydol, i drefnu y cyfryw, er cadwraeth, amddiffyniad, ac attaliad, y rhai hyny sydd ryw amser i gael eu dwyn i'r cyfammod; tra y maent hwy etto yn ddyeithriaid oddiwrtho, ac heb ganfod y wiliadwriaeth oddiamgylch iddynt, na'r tywysog o honi. Ioan v. 22. "Fe roddes y Tad bob barn i'r Mab." Hos. xi. 3. "Myfi hefyd a ddysgais i Ephraim gerdded, gan eu cymmeryd erbyn eu breichiau; ond ni chydnabuant mai myfi a'u meddyginiaethodd hwynt." Y maent rai amserau, tra y mae amser eu dallineb yn parhau, mewn perygl bygythiol o'u bywyd, ac ond o'r braidd yn dianc, o flaen y ffrwd o hudoliaethau cryfion, yn bygwth eu dwyn hwynt ymaith yn hollol; ac etto y mae grym y rhai'n yn cael ei dòri un ffordd neu'r llall, a hwythau yn cael eu dychwelyd oddiar ymmyl dinystr: ac nid ydynt byth yn gwybod yn wirioneddol, dyledwyr i bwy ydynt am y pethau hyn, nac yn gweled yr arfaethol-gariad ynddynt, hyd oni bydd i dröedigol ras eu cyrhaedd hwynt; ac yno y maent yn clywed tywysog y wiliadwriaeth yn dywedyd wrthynt, megis y dywedodd wrth Cyrus, Esai. xlv. 5. "Gwregysais di, er na'm hadwaenit." Felly, yr oedd "y mynydd yn llawn meirch a cherbydau tanllyd," er amddiffyniad Eliseus a'i was, er nad oedd y gwas yn gweled neb o'u tu hwynt, eithr yn eu herbyn, hyd oni agorodd yr Arglwydd ei lygaid ef, 2 Bren. vi. 17.

2. Y mae Ysbryd bywiocâol y cyfammod ynddo ef, trwy yr hyn y mae efe yn bywhâu pechaduriaid meirw, ac yn achlysuro iddynt fyw. Yr oedd yn rhaid i Ysbryd y bywyd gael ei bwrcasu i bechaduriaid: pe amgen, ni buasai un bywyd iddynt. Yn awr, y mae y cyflawnder o hono wedi ei bwrcasu gan, a'i lettya yn y Cyfryngwr, yn ol y cyfammod. Oddiar hyn y mae Crist yn cynnig ei hun i Sardis farw, megis â *saith Ysbryd Duw ganddo,* Dat. iii. 1. ac a ddywedodd wrth

yr Iuddewon, Ioan v. 25. y "clywai y meirw lef Mab Duw," hyny yw, fe gaiff eneidiau meirw eu bywhau, ac ar ol eu bywhau, hwy a gredant. Yr oedd yr Adda cyntaf, ar ol ei wneuthur yn enaid byw, yn alluog i gyfranu bywyd naturiol; eithr gan nad oedd efe wedi ei wneuthur yn ysbryd yn bywhau, nis gallasai adferu bywyd, wedi iddo unwaith gael ei golli: eithr fe wnaethwyd yr Adda diweddaf yn Ysbryd yn bywhau, i adferu bywyd ysbrydol, i bechaduriaid meirw mewn camweddau a phechodau. Felly, yn Nghrist, fel Ymddiredolwr y cyfammod, y mae ffynnon bywyd. Fe ddiffoddodd pechod Adda oleuadau yr holl fyd; ac fe adawyd ei hiliogaeth naturiol oll ganddo ef, fel cynnifer o ganwyllau tywyll: eithr y mae yr ail Adda wedi ei wneuthur, a'i osod i fynu, yn llusern fflamllyd i'w goleuo hwynt drachefn; ac y mae cynnifer o honynt ag y cyffyrddir â hwynt, yn fflamio yn ddiattreg hefyd: a phe gallent oll ond cyffwrdd â hi, (ac nis gwaharddir neb,) hwy a oleuid i gyd drachefn, ac a ddysgleirient gan oleuni bywyd ysbrydol, trwy gyfranogi o Ysbryd y bywyd yn Nghrist Iesu.

8. Y mae cyfiawnder y cyfammod ynddo ef, trwy yr hwn y mae cyfiawnhau yr annuwiol, y rhai nid oes ganddynt un cyfiawnder o'u heiddo eu hunain. Oddiyma y mae ei enw ef, *Yr Arglwydd ein cyfiawnder,* Jer. xxiii. 6. Yr oedd cyfiawnder dyn gerbron Duw wedi cyflawn dreulio allan: nid oedd dim o'r fath hyny wedi ei adael i neb o blant Adda; "megis y mae yn ysgrifenedig, Nid oes neb cyfiawn, nac oes un," Rhuf. iii. 10. Eithr wedi i Iesu Grist, yn ei enedigaeth, bywyd, a marwolaeth, weithio allan gyfiawnder y cyfammod newydd, efe a'i dygodd ef i mewn, ac a'i cyflwynodd i'w Dad, Dan. ix. 12. y'nghyd â Lef. xvi. 25. ac fe a'i caniatawyd ac a'i derbyniwyd, fel cyfiawnder y cyfammod newydd, i gyfiawnhau pawb a gredent; ac fe'i llettywyd ef gydâ'r gweith

iwr o hono, yr hwn yr ymddiriedwyd ef iddo, fel Gweinyddwr y cyfammod. Oddiwrth hyn y dywedir ei fod ef wedi ei *wneuthur i ni yn gyfiawnder*, 1 Cor. i. 30. sef, trwy Ddwyfol osodiad, yn yr un modd ag y gwnaethwyd ef y cyfammod. Ac fe wnaethwyd arwyddiad o hyn i bechaduriaid, yn yr efengyl, er sylfaen i ffydd, Esa. xlv. 24. "Yn ddiau yn yr Arglwydd (medd un) y mae i mi gyfiawnder." Hebr. *Yn unig yn yr Arglwydd (mewn perthynas i mi, y dywedodd efe) y mae cyfiawnder.* Geiriau yr Arglwydd Iesu Grist ydynt, yn adrodd y Dwyfol osodiad mewn perthynas iddo ei hun. Cymharwch adn. 23 a Rhuf. xiv. 10. 11. O herwydd paham, fe elwir yr efengyl yn weinidogaeth cyfiawnder," 2 Cor. iii. 9. A'i weinidogion ef, yn "weinidogion cyfiawnder," pen. xi. 15. ac yntau wedi cael cyfiawnder y cyfammod newydd dan ei ofal, i'w weinyddu ef i bechaduriaid, "i gyfiawnhad bywyd," megis y mae yr ymadrodd, Rhuf. v. 18.

4. Y mae yr hawl gyfammodol newydd i Dduw, yn ei berson ef fel Cyfryngwr: ac y mae efe yn wir feddiannol ar gyflawnder y Duwdod, fel y mae yn weinyddwr y cyfammod, i gyfranu o'r cyflawnder hwnw i bawb a gredant, Col. ii. 9, 10. "Oblegid ynddo ef y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol. Ac yr ydych chwi wedi eich cyflawni ynddo ef, yr hwn yw'r pen." Yr oedd gan ein Harglwydd Iesu Grist, fel tragywyddol Fab Duw, naturiol anniddymadwy hawl i gyflawnder y Duwdod: eithr, fel yr ail Adda, efe a gymmerodd allan hawl newydd i hyny, gan bwrcasu yr unrhyw trwy ei ufudd-dod a'i farwolaeth; ac, fel y cyfryw, y mae hi yn awr wedi ei lletya ynddo ef, i gael ei chyfranu ganddo ef. Yn y modd hyn, y mae heddwch y cyfammod, heddwch a Duw, ynddo ef, Eph. ii. 14. Y mae mabolaeth y cyfammod, y mabwysiad i deulu Duw, ynddo

ef, megis y "cyntaf-anedig y'mhlith brodyr lawer," Rhuf. viii. 29. Psal. lxxxi. x 27. y'nghyd a Ioan i. 12. Y mae yr hawl gyfammodol yn Nuw, fel Duw i ni ei hun, ynddo ef, Ioan xx. 17. Ac, i gael y rhai hyn oll yn un, bydded i'r pechadur ond derbyn Crist trwy ffydd, ac y maent ganddo i gyd: o herwydd y maent oll dan ei law ef fel ymddiriedolwr y cyfammod; ie, ynddo ef fel ystôr-dŷ y cyfammod.

5. Y mae y cyflawnder cyfammodol o Ysbryd santeiddiad ynddo ef, trwy yr hwn y mae gwneuthur pechaduriaid yn santaidd. Col. i. 19. "Oblegid rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef." Ioan i. 16. "Ac o'i gyflawnder ef y derbyniasom ni oll, ras am ras." Wedi iddo bwrcasu yr unrhyw a'i waed ei hun, y mae ef wedi ei lettya ynddo ef fel gweinyddwr y cyfammod; mewn perthynas i'r hyn y dywedir ei fod ef *wedi ei wneuthur yn santeiddrwydd i ni*, 1 Cor. i. 30. Gan hyny, fe ddaeth gwaed a dwfr allan o'i ystlys drywanedig ef; gwaed, i symmud ymaith euogrwydd pechod; dwfr, i olchi ymaith yr halogiad o hono. Felly efe yw y "ffynnon sydd wedi ei hagor i bechod ac aflendid," Zech. xiii. 1. Nid llestred o'r dwfr puredigaeth hwnw, yr hwn, bydded mor llawn ac y byddai, a fyddai yn lai o gymmaint ac a gyfranau; eithr ffynnon, tarddiad byw o hono ef, i ddiwallu anghenion yr aflan, heb ddim diffyg ynddo ei hun, ydyw: "Oblegid nid wrth fesur y mae Duw yn rhoddi iddo ef yr Ysbryd," Ioan iii. 34. O herwydd paham, y mae ynddo ef y fath gyflawnder o Ysbryd santeiddiad, ac y sydd, trwy ei annherfynol effaith, yn ddigonol i santeiddio holl deulu Adda, ac hyd y nod y gwaethaf o honynt. Y mae cyflawnder o ras ynddo ef, i gael ei gyfranu, er yr adferiad o ddelw Duw ynom ni, oedd wedi eu colli. Y mae digon o ras ynddo ef i doddi y galon galetaf, mewn efangylaidd edifeirwch, Act. v. 31. i farweiddio y chwantau cryfaf,

Gal. v. 24. i fywhau a chryfhau i ufudd-dod santaidd, 2 Tim. ii. 1.

6. Y mae y gras i sefydlu yn y cyfammod ynddo ef, trwy yr hyn y mae peri i'r mwyaf gwammal ac ansefydlog, wedi eu dwyn hwynt unwaith iddo ef, barhau hyd y diwedd, Judas 1. "y rhai a santeiddiwyd gan Dduw Dad, ac a gadarnhawyd yn Iesu Grist." Y mae efe wedi ei osod yn ben y dylanwadau i'w holl aelodau cyfriniol, y rhai sydd i gael y gweinyddiad o'u lluniaeth o hono ef, Col. ii. 19. Y mae y rhoddiad allan o faddeuant parhaol, yr hyn sydd yn angenrheidiol arnynt yn eu sefyllfa hon o amherffeithrwydd, hefyd yn ei law ef, fel gweinyddwr y cyfammod, wedi ei "ddyrchafu yn Dywysog, ac yn Iachawdwr, i roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau," Act. v. 31. Yn y modd hyn y mae efe wedi ei gyflawn gynnysgaeddu i'w cadw hwynt mewn cyflwr o ras, a chanddo gyflawnder o ras ynddo ei hun i'w gyfranu iddynt hwy, cyfaddas i'w hangenrheidiau, pa un bynag a'i mewn perthynas i allu, neu euogrwydd pechod.

7. Y mae pethau tymhorol y cyfammod i gyd yn ei law ef, trwy yr hyn y mae efe i ddarparu dros, a gweini amddiffyn i'w bobl, dros amser eu harosiad yn y byd hwn. Yn y cyfammod, fe wnaethwyd addewid iddo ef, o gael etifeddu pob peth, fel y cyntaf-anedig o deulu y nef: ac yn ei berson ef, fel yr ail Adda, fe adferwyd yr hen arglwyddiaeth dros y creaduriaid; megis y clywsom o'r blaen. Yn awr, megis y mae efe yn ymddiriedolwr y cyfammod, fe ddarfu i drefdadaeth y byd, a phob peth sydd ynddo, gael yn wirioneddol ei draddodi i'w ddwylaw ef; fel y mae efe yn Arglwydd y byd, nid yn unig mewn pwnc o hawl, eithr mewn meddiant; a chanddo yr awdurdod ar bob peth ynddo, o'r cerpyn lleiaf i guddio'r noedd, hyd y coronau a'r teyrnwiail. Y mae efe ei hun yn

tystiolaethu hyn, Mat. xxviii. 18. "Rhoddwyd i mi bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear." pen. xi. 27. "Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad." Oddiyma, i'r dyben o gefnogi ei bobl anrheithiedig yn eu gwaith yn adeiladu yr ail deml, y mae yn dywedyd, Hag. ii. 8. "Eiddof fi yr arian, ac eiddof fi yr aur;" sef, i'w rhoddi i'r neb y mynwyf. Ac y mae yn ymddangos mae geiriau Crist yw y rhai hyn, oddiwrth adn. 6. wedi ei chymharu a Heb. xii. 26. Yn ganlynol, y mae yr apostol oddiwrth y geiriau, Psal. xxiv. 1. "Eiddo yr Arglwydd y ddaear a'i chyflawnder," yn egluro hawl y credinwyr i'r creaduriaid, 1 Cor. x. 25, 26. Ac yn y modd hyn, y mae efe wedi ei gyflawn gynnysgaeddu, i weini pob math o ddarpariaeth i'w bobl mewn pethau tymhorol; a phob amddiffyn rhag pob perygl ón y gallant fod ynddynt. Y mae yr haul, y lleuad, a'r sêr; y ddaear, y môr, a'r awyr, y'nghyd a'r oll sydd ynddynt, dan ei law ef, fel ymddiriedolwr y cyfammod: ac efe a all ei llywodraethu hwynt i gyd, i ddybenion y cyfammod, megis y mae gogoniant Duw, a dedwyddwch ei bobl yn gofyn.

8. Y mae y cyflawnder cyfammodol o awdurdod ar angeu ar bedd yn ei law ef, trwy yr hyn y mae diarfogi angeu o'i golyn, a dwyn oddiamgylch adgyfodiad gogoneddus, *Y mae genyf*, medd efe, *agoriadau uffern a marwolaeth*, Dat. i. 18. Y mae angeu yn myned trwy'r byd, fel gorchfygwr galluog, yr hwn nis gall neb ei wrthsefyll; y mae y bedd yn canlyn, ac nis gall neb ei chadw hi yn ol oddiwrth ei hysglyfaeth; na pheri iddi ei rhoddi hi yn ol drachefn. Eithr y mae gan y Cyfryngwr attalfa effeithiol ar bob un o honynt. Nid ydynt yn frenhinoedd anymddibynol, er mor alluog ydynt: y mae un uwch-law iddynt, i orchymyn yr hwn y mae yn rhaid iddynt yn bendant ymostwng. Fe all angeu yn ddiau, ddyfod i mewn, o fewn terfyn y cyfammod, a dwyn pobl y cyfammod maith yn gystal ac ereill; eithr y mae yn rhaid

iddo ollwng ei golyn i lawr ar y ffin, a dyfod i mewn hebddo; o herwydd y mae yr awdurdod ar angeu yn awr yn llaw Crist, ac nis goddef efe iddo ddyfod i mewn yno a'i golyn ganddo. Ac y mae yr amser yn dyfod, pan y dywed efe wrth y bedd, Dyro i fynu: ac yno y torir ei bàrau hi yn ddrylliau, ac yr agorir ei phyrth hi, a hi a rydd i fynu ei llettywr iddo ef; o herwydd, y mae cyflawn awdurdod ar angeu a'r bedd, wedi ei roddi yn ei law ef, fel gweinyddwr y cyfammod.

Yn ddiweddaf, Y mae tragywyddol ddedwydd wch perffeithiedig y cyfammod yn ei law ef, trwy yr hyn y mae eneidiau ei bobl ef yn cael eu gwneuthur yn ddedwydd, yn ddiaros, ar ol angeu; ac wedi hyny, enaid â chorff yn ddedwydd y'nghyd; yn y dydd diweddaf: o herwydd, y mae *pob awdurdod yn y nef* wedi ei roddi iddo ef. Fe gwnaeth y Tad ef y gronfa fawr o fywyd tragywyddol, y ffynnon o'r hon y bydd iddo lifo allan i holl etifeddion bywyd: ac y mae y cyfraniad o hono wedi ei ymddiried iddo ef, 1 Ioan v. 11. "Fe roddodd Duw i ni fywyd tragywyddol: a'r bywyd hwn sydd yn ei fab ef." Ioan xvii. 2. "Megis y rhoddaist iddo awdurdod ar bob cnawd, fel am y cwbl a roddaist iddo, y rhoddai efe iddynt fywyd tragywyddol." O herwydd paham, y mae ei bobl ef wrth farw, mewn ffydd, yn cyflwyno eu heneidiau iddo ef, megis Stephan, Act. vii. 59. "Ac yn dywedyd, Arglwydd Iesu, derbyn fy ysbryd." Ac yn y dydd diweddaf, y mae efe yn cyhoeddi y farn, ac yn eu derbyn hwynt mewn modd difrifol i deyrnas nef, Mat. xxv. 34.

Ac yn y modd hyn y mae Crist yn Ymddiriedolwr y cyfammod.

II. Crist yw Testamentwr y cyfammod.

Ein Harglwydd Iesu Grist yw testamentwr y cyfammod, megis y mae yr apostol yn dangos, Heb. ix. 15, 16, 17. Trwy y rhan ammodol o'r cyfammod, fe gafodd Duw foddlonrwydd am y

air neu ysgrifen, neu ryw arwydd allanol arall, yr hwn a ellir ei ddadleu gan y cymun-dderbynwyr, mewn trefn o iddynt dderbyn y cymun-roddion a roddwyd yn yr ewyllys.

Y mae llythyr-cymun Crist, yr hwn o ran sylwedd, nid yw ond un, etto yn ddau-blyg, mewn golygiad ar wahanol amgylchiadau, sef, yr hen neu y testament cyntaf, a'r Testament Newydd, 2 Cor. iii. 14. Heb. ix. 15.

Y mae hen lythyr-cymun Crist yn adroddiad o ewyllys ddiweddaf ein Iachawdwr wrth farw, mewn perthynas i'w anchwiliadwy olud, wedi ei gadarnhau trwy aberthau yn cael eu lladd yn ol Dwyfol osodiad, a'i selio a'r seliau o'r enwaediad a'r pasg, y rhai a barhausant yn yr eglwys hyd gyflawnder yr amser, a'r amlygiad o hono ei hun yn y cnawd i Israel, Heb. ix. 20. Rhuf. iv. 11. 1 Cor. v. 7. Luc xvi. 16. Fe wnaethwyd y llythyr-cymun hwn o'i eiddo ef yn ddechreuol trwy air o enau; yr hwn fath lythyr-cymun a elwir geir-gymun; eithr fe'i traddodwyd ef ar ol hyny i ysgrifen; felly, fel yr oedd, nid yn unig geiriau y llythyr-cymun i'w clywed, ond llyfr y llythyr-cymun i'w ddarllen, gan y cymun-dderbynwyr, Heb. ix. 19, 20. Ac felly, y mae ef genym ni yn llythyr-cymun ysgrifenedig, yn y rhan hyny o'r ysgrythyr santaidd a elwir wrth yr enw, Hen Destament.

Y mae llythyr-cymun newydd Crist yn adroddiad o'r un ewyllys ddiweddaf o eiddo ein Iachawdwr wrth farw, mewn perthynas i'w anchwiliadwy olud, wedi ei chadarnhau trwy ei farwolaeth ef ei hun ar y groes, ac wedi ei selio â'r seliau o fedydd â swper yr Arglwydd, ac i barhau byth mwy, 1 Cor. xi. 23, 24, 25. Mat. xxviii. 19. Heb. vii. 12. 16, 17. Fe wnaethwyd hwn hefyd yn ddechreuol trwy air o enau, yn amser ei weinidogaeth gyhoeddus ef, yn yr hon y mynegodd efe ei ewyllys mewn perthynas i'r iachawdwriaeth fawr, *yr hon*, megis y mae yr apostol yn sylwi, *wedi dechreu ei thraethu trwy yr Arglwydd*, Heb. ii. 3.

Ac fe'i traddodwyd yntau hefyd yn yr un modd i ysgrifen: ac yr ydym wedi ei gael ef yn lythyr-cymun ysgrifenedig, yn y rhan hòno o'r ysgrythyr santaidd a elwir wrth yr enw, Testament Newydd.

Os edrychwn am ddyddnodiad dechreuol llythyr-cymun hen neu gyntaf Crist, ni a gawn ei fod ef mor foreu ag y gallasai natur y peth oddef; wedi ei wneuthur yn mharadwys, ar y dydd y syrthiodd Adda, "gydâg awel y dydd," Gen. iii. 8. mewn modd arall yn cael ei alw yr amser *rhwng y ddau hwyr,* Exod. xii. 6. hyny yw, rhwng tri a chwech o'r gloch yn y prydnawn. Ar yr hwn amser, y darfu i'n Harglwydd Iesu, yn yr addewid o i *had y wraig ysigo pen y sarph,* yr hon *a ysigau ei sawdl ef,* Gen iii. 15. arwyddo ei farwolaeth, a thraethu ei ewyllys am gymmwynasau ei bwrcas ef, oedd yn deilliaw i bechaduriaid trwy hyny. A'r dydd hwnw yr wyf yn barnu, oedd y chweched ddydd o amser y greadigaeth, yr un dydd ac y crewyd y dyn ynddo: gan gyfrif fod yr ysgrythyr yn dangos, na *lettyodd Adda dros un noswaith mewn anrhydedd,* megis y mae rhai, yn gytunol a'r iaith wreiddiol, yn darllen Psal. xlix. 12. Fe all y rhai hyny ac y sydd yn meddwl nas gallasai y dygwyddiadau a goffâur o Gen. ii. 7. hyd ddiwedd y drydydd bennod, gyd-dyru o fewn cwmpas un dydd, gyd-bwyso â hyny y dygwyddiadau perthynol i farwolaeth Crist, y rhai a gof-nodir Luc xxii. 66. hyd y diwedd, pen. xxiii. 1—33. Ioan xix. 1. Mat. xxvii. 27, 28. Ioan xix. 2. 5. 9—15. Mat. xxvii. 24. Yr hyn bethau oll a wnaethwyd o fewn cwmpas hanner diwrnod: o herwydd fe groeshoeliwyd Crist oddiamgylch deuddeg o'r gloch. Luc xxiii. 44—46.

Y mae rhai, trwy anfoddlonrwydd i feddwl am eu marwolaeth, yn oedi y gwneuthuriad o'u llythyr-cymun, hyd oni byddont ar eu gwely angeu: eithr yr oedd Crist, yr ail Adda, mor hollol foddlon i farw drosom ni, fel y *trefnodd efe ei dy,* a felly efe a baratodd ei hun erbyn marw yr un dydd

hwn, er nad oedd ef yn ddiau, ond gwaed neu farwolaeth anifeiliaid yn cael eu haberthu, etto yn ol rhesymiad yr apostol, yr oedd yn cael ei gyfrif yn waed neu farwolaeth y testamentwr, gan eu bod hwynt yn cael eu haberthu megis cysgodau o hono ef.

Ac oddiyma y mae yn ymddangos, (pa beth bynag a fu y gwahanol amgylchiadau trwy yr hyn y gweinyddwyd y llythyr-cymun, mewn gwahanol amserau,) nad yw yr hen lythyr-cymun a'r newydd, wedi eu rhoddi mewn geiriau, ac yn ysgrifenedig, (mewn sylwedd,) ond yr un llythyr-cymun o eiddo "Iesu Grist, ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd," Heb. xiii. 8. ac ynddo yr un grym ac effaith, er cyflawn faddeuant pechodau, a iachawdwriaeth dragywyddol, a'r cymun-roddion yn arddeledig ac yn gyraeddedig trwy ffydd, trwy rinwedd y llythyr-cymun, Act. xv. 11. Rhuf. iv. 13. Ond yn unig, bod yr hyn a gyhoeddwyd yn gyntaf trwy air o enau, wedi ei ysgrifenu ar ol hyny. Y cymun-roddion a roddwyd mewn ewyllys ar y cyntaf, mewn geiriau cyffredinol cynhwysfawr, a wahanodwyd ar ol hyny yn neillduol: ac y maent yn cael ei datgan yn y Testament Newydd yn fwy amlwg nag yn yr Hen. Yr oedd y blaenaf yn ad'scrifen o'r llythyr-cymun, wedi ei haddasu at yr amser cyn i'r testamentwr farw yn wirioneddol: yr olaf wedi ei haddasu at bob amser ar ol hyny, hyd ddiwedd y byd; ac am hyny nid oes un ad'scrifen arall i gael ei derbyn ar ei hol hi.

2. Y mae ef yn beth i ymofyn iddo, Pwy yw y cymun-dderbynwyr, y personau y gwnaethwyd y llythyr-cymun er cymmwynas iddynt, a phwy a all, yn ol trefn y llythyr-cymun, honi hawl i, a chael y cymun-roddion a roddwyd mewn ewyllys ynddo? Gan fod gwneuthuriad Crist o'i lythyr-cymun y weithred sylfaenol o'i weinyddiad ef o'r cyfammod, megis yr ydym wedi gweled eisoes, y mae yn rhaid o angenrheidrwydd i'r cymun-dderbyn-

wyr yn y llythyr-cymun fod yr un rhai a gwrthddrychau ei weinyddiad ef o'r cyfammod, hyny yw, pechaduriaid o ddynolryw yn annherfynedig: o herwydd, os yw Crist wedi ei awdurdodi gan y Tad i weinyddu y cyfammod i bechaduriaid o ddynolryw yn annherfynedig, ac wedi gwneuthur ei llythyr-cymun yn gafattebol i hyny, i'r dyben hyny, yn sicr nis gall neb fod wedi ei gadael allan o'r llythyr-cymun, ac nad yw wedi ei gadael allan o'i weinyddiad ef o'r cyfammod. Gan hyny, y mae yr apostol yn gosod i lawr, er sylfaen ffydd i'r rhai hyny oedd wedi trochi eu dwylaw y'ngwaed Arglwydd y gogoniant, ei hawl yn yr addewid, Act. ii. 39. "Canys i chwi y mae yr addewid, ac i'ch plant, ac i bawb y'mhell, cynifer ac a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato." At bwy bynag gan hyny y byddo yr efengyl yn dyfod, nyni a allwn yn warantadwy ddywedyd, y mae yr addewid i chwi, ac i chwi, a phob un o honoch chwi; sef, yr addewid o'r llythyr-cymun: ac y mae i chwi ddyfodfa i hòni hawl ynddi trwy ffydd, megis eich cymun-rodd eich hunain, a'ch trugaredd eich hunain, Ioan ii. 8. Ac y mae yr holl resymau a gasglwyd ar y matter o weinyddiad Crist, (yr hyn ni rhaid eu ail-adrodd yma,) yn profi hyn.

Ac y mae hyn yn fwyaf cytunol â natur y peth. Yn llythyr-cymun Crist, nid yw y cymun-dderbynwyr yn cael ei pennodi wrth eu henwau, megis mewn llythyr-cymun y byddo y testamentwr a'i blant a'i gyfeillion oddiamgylch iddo, i'r rhai y mae efe yn gadael y cymun-roddion: eithr y mae yma, megis yn yr achaws lle y mae rhai o blant, neu gyfeillion y testamentwr, heb ddyfod i'r byd yr amser y gwnaethwyd y llythyr-cymun; y rhai y mae yn rhaid iddynt am hyny gael eu cymunroddion wedi eu gadael iddynt mewn rhyw benodiad cyffredinol. Yr oedd torfeydd ar dorfeydd o gymun-dderbynwyr Crist heb eu geni pan y bu

efe farw; ac y mae torfeydd o honynt heb weled yr haul hyd y dydd hwn: na, pan y gwnaeth Crist ei lythyr-cymun gyntaf, nid oedd ond dau berson yn y byd. Gan hyny, fe gafodd y cymun dderbynwyr eu datgan ynddo, dan bennodiad cyffredinol, megis y rhai hyny o'r cyfryw delu. Yn awr, nid gwir gredinwyr yw *terfyn* y pennodiad cyffredinol hwn o'r cymun-dderbynwyr yn llythyr-cymun Crist, hyny yw, y cyfryw ac y sydd wedi credu eisoes: o herwydd, gwaith y cymun-dderbynwyr yn hòni eu hawl i'r cymun-roddion a adawyd iddynt, yw gwir gredu, trwy yr hyn y maent yn cael eu gosod mewn meddiant o honynt; yr hon hawl, sydd rhaid iddi, o angenrheidrwydd, gael sylfaen yn y llythyr-cymun, cyn hyny. Ac yn wir, y llythyr-cymun yw sylfaen ffydd. Gan hyny, fe'i gwnaethwyd ef cyn bod un gwir grediniwr yn y byd, fe'i gwnaethwyd ef yn mharadwys, ac a'i hadroddwyd ef yno yn nghlywedigaeth ein rhieni cyntaf euog, y rhai, ar y clywedigaeth o hone, Gen. iii. 15. a gredasant, ac felly a osodwyd yn y meiant o'u cymun-roddion. Ac yn y modd hyn y bydd hyd ddiwedd y byd: fe ddaw *ffydd trwy glywed* y llythyr-cymun, Rhuf. viii. 17. Gal. iii. 2. Nid yr etholedigion yw y *terfyn* ychwaith: o herwydd, er mae ynddynt hwy yn unig y mae y llythyr-cymun yn effeithiol, etto nid iddynt hwy yn unig y mae y cymun-roddion wedi eu gadael; nid hwynt yw yr unig bobl y gwnaethwyd y llythyr-cymun er cymmwynas iddynt. O herwydd, gan fod etholedigaeth yn ddirgelwch nad yw i gael ei wybod genym ni, hyd oni byddo i ni unwaith gredu, nis gall fod yn sylfaen a gwarant i gredu, neu gofleidio y llythyr-cymun, a hòni hawl i'r cymun-roddion. Heblaw hyny, yn y dull hyny, nis gallai angrhedinwyr a fyddai yn parhau felly hyd y diwedd, gael, mewn modd cyfiawn, eu cyfrif yn wrthodwyr ac yn ddiystyrwyr o lythyr-cymun Crist, gan na byddai iddynt un rhan ynddo na pherthyn-

as ac ef, mwy na'r angelion syrthiedig. Eithr y pennodiad cyffredinol o'r cymun-dderbynwyr, yn llythyr-cymun Crist, yw pechaduriaid o ddynolryw yn anherfynedig: i'r rhai hyny o deulu Adda y mae y cymun-roddion wedi eu gadael, i hòni hawl iddynt a'u meddiannu trwy ffydd, Diar. viii. 4. "Arnoch chwi, wyr, yr wyf fi yn galw; ac at feibion dynion y mae fy llais." Dat. xxii. 17. "A'r hwn sydd yn ewyllysio, cymmered ddwfr y bywyd yn rhad." Ioan vi. 37. "A'r hwn a ddel ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim."

Gosoder yr achos, fod rhyw ddyn goludog, er cymmwynas, oddiar y cariad sydd ganddo at ryw deulu neillduol, yn gadael ei olud iddynt mewn llythyr-cymun, i gael eu ranu rhyngddynt: yn yr achaws hyn mae yn amlwg, pa mor lliosog bynag y byddo y teulu hwnw, fod pob un o honynt yn gymun-dderbyniwr y dyn hwn, er nad yw eu henwau yn neillduol wedi eu hysbysu yn y llythyr-cymun; ac nid oes arnynt eisieu dim yn ychwaneg i egluro hawl pob un o honynt, i'w ran o'r cymun-roddion, na phrofi eu bod o'r teulu hwnw. Ac ar waith y cymun-weinydd yn gwneuthur crybwylliad cyfreithlon i'r teulu hwnw, fod y fath lythyr-cymun wedi ei wneuthur er cymmwynas iddynt, yn erchi iddynt ddyfod, a hòni eu hawl, a cheisio ei cymun-roddion, yn ol trefn y llythyr-cymun: y mae yn amlwg, y bydd i bawb o honynt, ac a ddyneso yn gyfattebol i hyny, ac a hòno ei hawl, fel aelodau o'r teulu hyny, dderbyn eu rhan o'r cymun-roddion: eithr os bydd i neb o honynt beidio a dyfod i hòni eu hawl ynddynt, hwy a gollant mewn modd cyfiawn y budd o honynt, a hwy a allant farw o eisiau, er yr oll o'r cymun-roddion a adawyd iddynt yn y llythyr-cymun. Fe wnaeth ei Harglwydd Iesu Grist y cyffelyb lythyr-cymun: tuelu colledig Adda yw y teulu a nodwyd yn gymun-dderbynwyr iddo: a'r efengyl yw y crybwyll-

iad cyfreithlon a wnaethwyd iddynt hwy, i ddyfod at y cymun-weinydd i dderbyn eu cymun-roddion. Y mae pawb ac y sydd yn credu yn cael y cymun-roddion: y mae pawb anghredinwyr yn eu colli hwynt, ac yn trengu trwy'r diffyg o honynt; ac y maent yn trengu yn ddi-esgus. Nis gallant ledrithio, na adawyd dim iddynt gan y testamentwr; yr hyn yw cyflwr yr angelion syrthiedig: nag etto, nas gwnaethwyd ef yn wybodus iddynt; yr hyn yw cyflwr y bobl ac na chlywodd yr efengyl erioed. Eithr y maent yn trengu, o herwydd, er bod cymun-roddion cyfoethog wedi eu gadael iddynt, etto hwy a ddibrisasant garedigrwydd y testamentwr, ac ni ddeuant un amser i'w harddel hwynt trwy ffydd. Oddiyma y mae yn ymddangos fod cymmwynasau y cyfammod gras, hyd y nod mewn golygiad ar anghredinwyr, yn cael eu galw eu heiddo hwynt, sef, trwy rinwedd yr hawl sydd ganddynt iddynt yn ol rhediad llythyr-cymun Crist. Jonah ii. 8. "Y neb a gadwant oferedd celwydd, a wrthodant eu trugaredd eu hun." Yn ganlynol, y mae y Tad yn dywedyd yn y ddammeg, Luc xv. 31. wrth y brawd hynaf, "Fy mab, yr eiddof fi o'l ydynt eiddot ti." felly pen. xvi. 12. "Oni buoch ffyddlawn yn yr eiddo arall, pwy a rydd i chwi yr eiddoch eich hun? hyny yw, "y gwir olud," adn. 11. Ac y mae eu dinystr yn llettya wrth ddrws eu anghrediniaeth, trwy beidio dyfod i'w derbyn hwynt, Ioan v. 40. "Ond ni fynwch chwi ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd." Y mae addewid Crist yn ei lythyr-cymun i bechaduriaid o ddynolryw, megis yr oedd yr addewid o Ganaan i'r Israeliaid yn yr Aipht, yn annherfynedig, nid oedd y rhai hyny y syrthiodd eu cyrff yn yr anialwch wedi eu gadael allan, Exod. vi. 6, 8. "Dywed wrth feibion Israel, Myfi yw yr Arglwydd—A mi a'ch dygaf chwi i'r wlad, am yr hon y tyngais." Yn y modd hyn yr oedd addewid wedi ei gadael iddynt o fyned i mewn i orffwysfa

Canaan: ac fe ddarfu i'r rhai a'i credodd hi, gael y meddiant yn gyfattebol i hyny; a'r rhai ni chredasant, ei cholli hi. A hwy a syrthiasant yn fyr o honi, nid o herwydd nad oedd hi wedi ei gadael iddynt; eithr o herwydd, er ei bod wedi ei gadael iddynt hwy, yn gystal a'r rhai a aethant i mewn, etto nis credasant hwy hi. Felly y mae yr apostol yn dywedyd, "Na allent hwy fyned i mewn o herwydd anghrediniaeth," Heb. iii. 19. Ac nid oedd hyn i'w osod ar ffyddlondeb Duw: o herwydd mewn addewidion, yn gystal ac mewn cyfammodau, y mae angenrheidrwydd am gydsyniad o'r ddwy ochr i'r un peth; y mae derbyniad y person y gwnair yr addewid iddo, gan hyny, yn angenrheidiol, er cyflawniad y rhwymedigaeth o du yr addawŵr: o herwydd nis gellir meddwl mewn rheswm, am i neb, a fyddo yn gwneuthur addewid o gymmwynas i arall, un a'i rhwymo ei hun trwy hyny, i wthio ei gymmwynas ar y llall yn erbyn ei ewyllys, neu ei rhoddi hi i fynu megis peth i gael ei gwrthod ganddo ef, mewn un modd. Yn awr, i'r unig berwyl hyn, y mae yr apostol yn gwneuthur defnydd o gyflwr yr Israeliaid; ac addewid Abraham wedi ei gadael iddynt, ac etto yn fyr o honi trwy anghrediniaeth, Heb. iv. 1, 2. "Ofnwn gan hyny, gan fod addewid wedi ei gadael i ni i fyned i mewn i'w orphwysfa ef, rhag bod neb o honoch yn debyg i fod yn ol. Canys i ninnau y pregethwyd yr efengyl, megis ag iddynt hwythau: eithr y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy; am nad oedd wedi ei gyd-dymheru â ffydd yn y rhai a'i clywsant ef." Cymharwch Exod. vi. 9. "A Moses a lefarodd felly wrth feibion Israel: ond ni wrandawsant."

3. Y mae yn beth i ymofyn iddo, Pwy yw cymun-weinydd y llythur-cymun? Mewn llythyrau-cymun y'mhlith dynion, y mae y testamentwr a'r cymun-weinydd bob amser yn wahanol bersonau:

ac y mae yn rhaid o angenrheidrwydd iddi fod felly, o herwydd wedi i'r testamentwr farw, nis gall efe fyw drachefn i weled ei ewyllys yn cael ei chwblhau; am hyny y mae yn rhaid i un neu ychwaneg, o rai a fyddo byw wedi iddo ef fyned, gael eu pennodi i'r dyben hyny. Eithr y mae y rheswm hyn yn darfod yma. Fe allasai Iesu Grist yn buriawn fod y cymun-weinydd o'i lythyr-cymun ei hun, ac nid oedd arno eisiau pennodi neb arall i edrych at y matter hwnw. Efe oedd Arglwydd bywyd a marwolaeth, ac nid oedd yn bosibl ei attal ef gan angeu, Act. ii. 24. Er ei fod ef i farw yn wirioneddol, i gadarnhau ei lythyr-cymun, etto yr oedd efe i gyfodi drachefn yn fuan, er y cyflawniad effeithiol o hono: yn gyfattebol i hyn, y mae yr apostol yn sylwi, iddo ef gael ei "draddodi dros ein pechodau ni, a'i gyfodi i'n cyfiawnhau ni," Rhuf. iv. 25. Ac y mae ef *yn byw yn oes oesoedd*. Hyd y nod pan yr oedd efe yn y bedd, yr oedd yn alluog i gyflawni ei lythyr-cymun, gan ei fod yn Dduw yn gystal a dyn, yn feddiannol ar fywyd, yr hwn nas gallasai gael ei golli, na allasai tros un moment; sef, y Dwyfol fywyd. Ac yr oedd y cyflawniad o hono y pryd hyny, pan yr oedd y natur ddynol yn sefyllfa y meirw, yn agos yr un, a'i gyflawniad ef o hono cyn iddo gymmeryd y natur ddynol erioed.

Ac y mae yn ymddangos, yn ddiau, mae Iesu Grist yw y cymun-weinydd o'i lythyr-cymun ei hun, oddiwrth ei fod ef wedi ei bennodi gan y Tad yn weinyddwr y cyfammod, i ddosparthu ei gymmwynasau ef, megis goruchwyliwr mawr ar dŷ y nef; ac oddiwrth weithredoedd ei weinyddiad ef, yn y byd hwn, ac yn y byd a ddaw: o herwydd efe yw yr hwn, y mae ganddo yn ei law, yr anrhegiad o ras, yn wirioneddol ac yn berthynasol, ar bechaduriaid; a'r anrhegiad o ogoniant ar y saint: yr hyn yw y cyflawniad o'i lythyr-cymun ef, yn gystal a'r gweinyddiad o'r cyfammod; y blaenaf yn is

osodiad i'r olaf. Ar yr un pryd, nis gellir gwadu nad yw efe yn ei gyflawni ef trwy ei Ysbryd, ac yn rhoddi gweinidogion yr efengyl ar waith yn y matter. O herwydd paham, pwy bynag a fynai gael un gymmwynas achubol trwy lythyr-cymun Crist, neu a fynai gyfranogi o'r cymun-roddion sydd wedi eu rhoddi mewn ewyllys ynddo, y mae yn rhaid iddo ddyfod ato ef i'w derbyn hwynt; gan mae efe yw cymun-weinydd ei lythyr-cymun ei hun. Gan hyny, galwad wastadol yr efengyl a'r bechaduriaid trancedig yw, am iddynt ddyfod at Grist i gael bywyd a iachawdwriaeth; a'r achwyniad yn erbyn y rhai hyny sydd yn gwrthod eu trugaredd eu hun yw, na fynant ddyfod ato ef, Ioan v. 40. Y mae yn rhaid i holl fywyd y credinwyr fod yn ddyfodiad ato ef, 1 Ped. ii. 3. hyny yw, byw trwy ffydd ynddo ef, Gal. ii. 20. trwy yr hyn y gallant fod yn feunyddiol, yn derbyn y cymun-roddion, yn ol eu angenrhaid.

4. Yn y lle diweddaf, y mae yn beth i ymofyn iddo, Beth yw y cymun-roddion a adawyd, yn llythyr-cymun Crist, i bechaduriaid tlodion o ddynolryw, ei unig gymun-dderbynwyr ef? Yn y cyffredinolrwydd, y mae wedi ei adael iddynt, yr hyn sydd ddigonol i'w gwneuthur hwynt yn ddedwydd dros amser a thragywyddoldeb: sef holl gymmwynasau y cyfammod, i gael eu derbyn trwy ffydd. Y rhai hyn yw Crist ei hun, a phob peth yn a chydâg ef, Rhuf. viii. 32. Ac ammod gyffredinol y llythyr-cymun yw, "Yn ol eich ffydd bydded i chwi," Mat. ix. 29. Gan ei fod y tu hwnt i'n cyrhaedd ni, i gyfrif y pethau oll yn neillduol, fe gaiff bod yn ddigon i nodi ychydig bethau, megis y cymun-roddion cynhwysfawr, a adawyd gan Iesu Grist yn ei lythyr-cymun, i bechaduriaid o ddynolryw, yn anherfynedig.

*Cymun-rodd*, 1. Ei gyfiawnder cyflawn ef ei hun, i'n gorchuddio ni gerbron yr Arglwydd; ac oddiwrth hyn yn cael ei alw yn *ddawn cyfiawnder*,

Rhuf. v. 17. megis wedi ei wneuthur drosodd i ni yn y llythyr-cymmun, i gael ei dderbyn trwy ffydd; yn yr hwn ystyr, y dywedir ei fod ef yn cael ei ddatguddio i ffydd, hyny yw, i gredu ynddo ac ymddyried iddo, ac felly yn cael ei dderbyn a'i wisgo, Rhuf. i. 17. Y mae dynion wrth farw yn arfer gadael galar-wisgoedd i'w cyfeillion tlodion: eithr fe adawodd ein Iachawdwr wrth farw, i'w holl gymun-dderbynwyr, "wisgoedd iachawdwriaeth, mantell cyfiawnder," Esa. lxi. 10. "gwisgoedd eu gogoniant," pen. lii. 1. "dillad gwynion," Dat. iii. 18. megis gwisg i lawenhau: o herwydd, er iddo farw, etto y mae efe yn fyw, a byw ydyw yn oes oesoedd. Fe ddarfu i'n tad Adda ein gadael ni yn noeth, i'n cywilydd: etto nid oes raid i ni aros yn noeth, nag i'n cywilydd ymddangos. O herwydd, trwy lythyr-cymun yr ail Adda, y mae y gwisgoedd yn ddigonol wedi eu gadael i deulu toredig ein tad, sef y wisg o'i gyfiawnder ef ei hun: ac nid oes dim yn eisieu, ond i ni eu derbyn hi megis ei gymmun-rodd ef i ni, a'i gwisgo hi. Nis gall y Duw santaidd oddef i ni ddyfod i'w wyddfod ef yn ein noethni ysbrydol; y mae y gyfraith yn gofyn i ni ymddangos ger ei fron ef mewn santeiddrwydd natur difrycheulyd, a pherffaith gyfiawnder bywyd, megis yr ammod o fywyd; ac y'nghyd a hyn oll, gydâ boddlonrwydd i gyfiawnder, trwy ddyoddef, am i ni bechu. Eithr pa fodd y gallwn ni wneuthur y fath ymddangosiad? Nis gallwn mewn un modd osod ein hunain yn y fath gyflwr, trwy ddim a allwn ni ei wneuthur neu ei ddyoddef. Ac etto nid yw ein cyflwr yn anobeithiol. Y mae genym gyfaill da, yr Arglwydd Iesu Grist, yr hwn a adawodd i ni, trwy lythyr-cymun, santeiddrwydd ei natur, yn yr hwn y ganed ef; cyfiawnder ei fywyd, sef, yr holl weithredoedd da y rhai a gyflawnodd efe mewn ufudd-dod i'r deg gorchymyn, dros ei holl fywyd ar y ddaear; a'r boddlonrwydd a wnaeth efe trwy

ei farwolaeth a'i ddyoddefaint, o'r groth i'r bedd: efe a wnaeth y rhai hyn oll yn un unig rodd o gyfiawnder, ac a roddodd yr unrhyw yn ei ewyllys i ni, yn ei lythyr-cymun, i'w dderbyn trwy ffydd. Trwy y moddion hyn, fe all y pechadur mwyaf truenus o honom oll, gael ei addurno y'ngolwg y Duw santaidd, a chanddo trwy hyny fodd i ateb holl ofynion y gyfraith am fywyd, a chael cyflawn faddeuant a derbyniad gydâ Duw, megis un cyfiawn yn ei olwg ef. Pa fodd y dihangwn ni; os na wnawn hòni hawl i'r cymun-rodd hwn, yr ydym yn sathru ar gymmwynasgarwch y testamentwr.

*Cymun-rodd* 2. Ei hawl gyfammodol newydd ef yn Nuw, trwy yr hyn y mae ein gwneuthur ni yn ddedwydd, Heb. viii. 10. "Mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw." Fe adawodd ein tad Adda ei holl deulu "heb Dduw yn y byd," Eph. ii. 12. Yr oedd hyn yn golled anrhaethadwy, yn golled dinystriol: yr oedd pob truenusrwydd dros amser a thragywyddoldeb wedi ei oblygu i fynu ynddo. Yr oedd yn golled nas gallasid byth wneuthur iawn am dano; ac i ni yr oedd yn anadferadwy. Eithr fe ddarfu i Iesu Grist adferyd i ni yr hawl-gyfammodol yn Nuw, oedd wedi ei cholli, ac a'i rhoddodd mewn ewyllys i ni, yn ei lythyr-cymun. Y mae hon yn gymun-rodd sydd yn gyflawn uwchlaw ein amgyffred ni. Pwy a all ddirnad yn gyflawn beth sydd yn hyny, *Myfi a fyddaf yn Dduw i chwi?* Yn sicr y mae pob dedwyddwch ynddo, dros amser a thragywyddoldeb, Psal. cxliv. 15. "Gwyn eu byd y bobl y mae yr Arglwydd yn Dduw iddynt." Yn hyn y mae heddwch a chymmod â Duw wedi ei adael i chwi, Ioan xiv. 27. mabwysiad i deulu Duw, 2 Cor. vi. 16—18. ïe, y bydd i chwi gael Duw yn Dduw i chwi, yn etifeddiaeth i chwi, mewn cyd-etifeddiaeth â Christ, Rhuf. viii. 17. Holl bersonau y Duwdod yn eiddo i chwi; y Tad i fod yn Dad i

chwi, y Mab yn Waredwr i chwi, yr Ysbryd Glân yn Santeiddydd i chwi: a holl briodoliaethau Duw i gael eu gosod ar waith er eich dedwyddwch chwi. Nid oes dim o du Crist, na dim o du Duw, yn sefyll rhyngoch chwi a hyn oll: nid oes dim a all eich gwneuthur yn fyr o hyn, ond anghredíniaeth. Y mae yr hawl gyfammodol newydd yn Nuw wedi ei phwrcasu a gwaed y cyfammod tragywyddol; y mae hi wed ei rhoddi drosodd i Iesu, megis gweinyddwr y cyfammod; ac fe gwnaeth yntau hi drosodd drachefn i chwi, trwy lythyr-cymun. Beth sydd ar ol, ond eich dyfodiad chwi at y cymun-weinydd, a derbyn eich cymun-rodd trwy ffydd? Och! fod neb yw cael yn ymddifad o galon i wneuthur hyn.

*Cymun-rodd* 3. Ei Ysbryd y gras ef, yr hwn y mae arnom ni gymmaint o'i angen. Gwrandewch eiriau y llythyr-cymun, Díar. i. 23. "Dychwelwch wrth fy ngherydd: wele mi a dywalltaf fy Ysbryd i chwi." Y mae saith Ysbryd Duw gan Grist, sef cyflawnder yr Ysbryd, ynddo ei hun, i'w gyfrannu; ac efe a wnaeth hwnw drosodd, trwy ei lythyr-cymun, i bechaduriaid o genedl Adda: heblaw hyny, fel cymun-weinydd y llythyr-cymun, efe a wnaeth grybwylliad o hyny, gan gyhoeddi ei fod ef yn barod i roddi yr Ysbryd i bawb a ddeuai ato ef yn ganlynol, "Ar y dydd diweddaf, y dydd mawr o'r wyl, y safodd yr Iesu, ac a lefodd, gan ddywedyd, Od oes ar neb syched, deued ataf fi, ac yfed. Yr hwn sydd yn credu ynof fi, megis y dywedodd yr ysgrythyr, afonydd o ddwfr bywiol a ddylifant o'i groth ef. A hyn a ddywedodd efe am yr Ysbryd, yr hwn a gai y rhai gredent ynddo ef ei dderbyn," Ioan vii. 37—39. O gymunrodd gyfaddas i blant Adda! dyma fywyd i ni, bywyd i eneidiau meirw: o herwydd y mae yr Ysbryd yn *Ysbryd y bywyd*, yn rhyddhau rhwymau *pechod a marwolaeth*, Rhuf. viii. 2. Pa fodd y bydd i eneidiau marw fyw? Y mae ein Harglwydd ei

hwn yn ateb y gofyniad, yn helaethlawn, Ioan vi. gan ddangos mae efe yw y bara bywiol, sydd *yn rhoddi bywyd i'r byd*, adn. 33. mai trwy fwyta y bara hwn y caiff eneidiau fyw, adn. 57. a bod yr Ysbryd sydd yn bywhau ynddo ef, adn. 63. ac y mae ef i gael ei fwyta trwy ffydd, adn. 35. 56. 64. I ba le gan hyny y dylai yr enaid fyned i ymofyn bywyd, ond at Grist, megis y cymun-weinydd o'i lythyr-cymun ei hun? adn. 68. O herwydd, megis yr ydym wedi cyrchu angeu oddiwrth yr Adda cyntaf, felly y mae yn rhaid i ni gyrchu bywyd oddiwrth yr ail Adda, onidë nis gallwn ni ei gael ef, adn. 53. Yma y mae adgenhedliadol a santeiddiol ras i ni, trwy yr hyn y gall ein naturiaethau gael eu cyfnewid, Ezec. xxxvi. 26. A delw Duw ei hadferu ynom ni, trwy i ras gael ei dderbyn, yn cyfatteb i'r gras yn y dyn Crist, fel y cwyr i'r sel, Ioan i. 16. o herwydd, y pethau hyn oll y mae Ysbryd Crist yn ei gweithio yn y rhai sydd yn credu, Eph. i. 13. Yn hyn y mae yn cael ei wneuthur drosodd i ni, yr hyn, trwy ras, sydd yn ein galluogi ni i wir efangylaidd edifeirwch, Zech. xii. 10. Ezec. xxxvi. 31. i rodio mewn newydd-deb buchedd, adn. 27. ac i farweiddio gweithredoedd y corff, Rhuf. viii. 13. Yma y mae wedi ei roddi i ni mewn ewyllys, eglurhaol ras, trwy yr hyn y mae i ni ganfod ein dyledswydd; o herwydd, y mae yr Ysbryd yn Ysbryd goleuni a hyfforddiad, Ioan xvi. 14. cynhyrfiol a chryfahol ras, yr hwn sydd yn dyfod trwy gymmorth yr Ysbryd, Philip. i. 19. Eph. iii. 16. dyddanol ras, yn mhob profedigaethau a chystuddiau; o herwydd, efe yw y diddanydd sydd yn aros yn dragywydd yn y lle y dêl, Ioan xiv. 16. sicrhaol ras, trwy yr hwn y mae y pechadur, wedi iddo unwaith gael ei ddwyn i Grist, yn cael ei gadw byth mwy rhag syrthio ymaith, yn gyfangwbl nac yn anadferadwy, adn. 17. 1 Ioan. ii. 27. Mewn gair, wedi i Grist adael Ysbryd y gras i ni, yn ei lythyr-cymun,

y mae pob gras addas ar gyfer ein hangen yn agored i ni: am hyny, nid oes neb ac y sydd yn clywed yr efengyl yn aros yn amddifad o ras, ond o herwydd na ddeuant at Grist i ymofyn am dano.

*Cymun-rodd* 4. Cyfran gyfaddas o bethau da y bywyd hwn, megis y mae anfeidrol ddoethineb yn gweled yn angenrheidiol, Psal. xxxvii. 3. "Felly y trigi yn y tir, a thi a borthir yn ddiau." Fe roddodd Crist, yn ei lythyr-cymun, deyrnas i bechaduriaid, sef teyrnas Dduw, ac efe a ychwanegodd y pethau hyn atynt, Mat. vi. 33. Y mae ei lythyr-cymun ef wedi ei addasu at ein holl anghenion ni: hyd y nod mewn pethau tymhorol, efe a ofalodd am ein cynhaliaeth a'n hamddiffyniad ni, yn ol yr addewid a wnaethwyd am hyny yn y cyfammod. Yr addewidion hyny, a wnaethwyd yn ddechreuol iddo ef ei hun, yn y cyfammod tragywyddol, fe ddarfu iddo ef trwy ei lythyr-cymun, megis pe bae, eu har'scrifenu hwynt i ni, i gael eu gwneuthur yn barod i'w cyfranu i bawb a'u coffeidiau hwynt trwy ffydd, ac a honai ei hawl ynddynt trwy y llythyr-cymun. O herwydd paham, fe all credinwyr fyned at Grist i ofyn eu bara beunyddiol, yn gystal a'u cymmwysasau ysbrydol; gan ddadleu y llythyr-cymun am y naill yn gystal a'r llall. Ac fe fydd derbyn y bara â'r dwfr, trwy rinwedd llythyr-cymun Crist, yn fwy boddhaol gan y cristion, dan orchwyliaeth ffydd, nag y gall holl gyflawnder y dynion bydol fod; gan ei fod ef yn y dull hyny, yn ei cael hwynt fel pwrcas gwerthfawr waed y testamentwr, a bendith ei Dad gydâ hwynt.

*Cymun-rodd* 5. *Angeu di golyn,* Ioan viii. 51. "Os ceidw neb fy ymadrodd i, ni wel efe farwolaeth yn dragywydd." Y mae dynion yn eu llythyrau-cymun yn gwneuthur darpar dros fywyd cysurus i'w cymun-dderbynwyr; eithr nis gallant adael dim iddynt a wnelo angeu yn ddiogel ac yn gysurus iddynt. Eithr y mae yn llythyr-cymun

Crist, neillduol ddarpariaeth ar gyfer y cymun-dderbynwyr yn angeu, yn gystal ag mewn bywyd: ac yn y grediniaeth o hyny, y mae y saint wedi croesawi y cenhadwr cuchiog, gan farw yn gysurus yn y grediniaeth o'r llythyr-cymun seliedig, Heb. xi. 13. Pan yr oedd eiu Harglwydd Iesu i ymladd âg angeu wedi ei arfogi â'i golyn, a hyny yn ei lawn rym, wedi ei roddi iddo gan y gyfraith ddredig, yr oedd efe yn berffaith sicr o fuddugoliaeth: felly, yn ei waith yn gwneuthur ei lythyr-cymun, efe a'i gwnaeth megis rhan o'i ewyllys ddiweddaf, ar i bechaduriaid o hiliogaeth Adda fod yn rhydd oddiwrth golyn angeu, trwy ffydd ynddo ef. *Cymun-rodd gwerthfawr*, yr hon yr oedd ganddo ef gyflawn hawl i'w rhoddi yn ei ewyllys, o herwydd ei bod hi wedi ei phwrcasu â'i farwolaeth ef ei hun; yr hon a all, ac a wna efe yn effeithiol, gan fod y cyflawnder o awdurdod ar angeu a'r bedd yn ei law ef; ac y mae efe yn gymun-weinydd ei lythyr-cymun ei hun. Pa mor alarus yw, fod dynion, a hwythau yn gwybod y byddant feirw, yn diystyru y llythyr-cymun, a charedigrwydd eu cyfaill goreu, yr hwn sydd yn ymddangos yma, lle nid yw neb arall yn abl i gynnorthwyo.

*Cymun-rodd* 6. a'r olaf. Bywyd tragywyddol yr ochr draw i angeu, Ioan vi. 58. "Y neb sydd yn bwyta y bara hwn, a fydd byw yn dragywydd." Y mae llythyr-cymun Crist â'i olwg, nid yn unig ar y byd hwn, eithr hefyd ar y byd arall; ynddo y mae darpariaeth wedi ei wneuthur, nid yn unig dros amser, eithr dros dragywyddoldeb: efe a roddodd trwyddo ef deyrnas, sef teyrnas nef, megis tragywyddol etifeddiaeth i'r cymun-dderbynwyr, Luc xxii. 29. Y mae hyn yn cynnwys dedwyddwch yr enaid yn ei sefyllfa ysgaredig; adgyfodiad gogoneddus y corff yn y dydd diweddaf; a pherffaith ddedwyddwch enaid a chorff yn

ngbyd, o hyny allan, a thros byth mwy. Pwy a all adrodd y cynnwysiad o hyny? Eithr, pa beth bynag sydd ynddo, y mae ef yn y llythyr-cymun wedi ei wneuthur drosodd i bechaduriaid o ddynolryw: a phwy bynag o honynt a ddêl at Grist i'w ofyn ef, a gaiff, ar y sail o'i ffyddlondeb ef, heb un fe allai, ei dderbyn ef.

Y rhai hyn yw y cymun-roddion cynnwysfawr yn llythyr-cymun Crist. Ni byddai un diwedd, o fyned i mewn i adroddiad mwy neillduol o honynt. Y mae genych lyfr y llythyr-cymun, yn Hen ac yn Newydd, yn eich dwylaw: darllenwch ef yn astud, y mae llythyr-cymun Crist ynddo, megis y mae ef mewn gwirionedd: ac yn mhob tu dalen chwi a gânfyddwch yr anchwiliadwy olud. Heblaw hyny, cofiwch ei fod ef yn perthyn yn agos i chwi, a phob un o honoch chwi, megis y blaid o gymun-dderbynwyr, er cymmwynas pa rai y gwnaethwyd ef; gan eich bod yn *ddynion*, yn *feibion dynion*, Diar. viii. 4. Y mae y llythyr-cymun wedi ei wneuthur yn adnabyddus i chwi mewn modd cyfreithlon, trwy y pregethiad o'r gair, a thrwy osod yr ad-ysgrifen, sef y Bibl, yn eich dwylaw chwi. Ac yr ydych wedi eich galw i ddyfod at Grist, megis y cymun-weinydd o hono, i dderbyn eich cymun-roddion trwy ffydd ynddo ef. Dedwydd a fyddwch, os attebwch yr alwad: eithr os na wnewch, hi a *fydd yn esmwythach i Tyrus a Sidon yn nydd y farn, nag i chwi:* o herwydd fe fydd yn mwyhau eich damnedigaeth, nid yn unig bod yr holl roddion hyn wedi eu gadael i chwi yn llythyr-cymun Crist, eithr i'r cyfryw gael eu gwneud yn adnabyddus i chwi, ac i chwi gael eich galw i ddyfod at y cymun-weinydd i'w derbyn hwynt, eithr ni chredasoch, ac ni fynech ddyfod.

Hyd yma am Grist yn Gymun-weinydd y cyfammod.

III. Crist yw Proffwyd y Cyfammod.

Gan fod y cyfammod yn drefniad tragywyddol, yr hwn nid oedd i un creadur ddyfodfa i fod yn dyst iddo, yr oedd y bod o hono yn hollol ddirgelwch i'r holl greadigaeth: ac yn hyny yr oedd ef y dirgelwch, o *fawr amryw ddoethineb Duw*, Eph. iii. 10. nid oedd un creadur yn ddigonol i ddad-blygu ei natur ef. Ar gyfrif yr hyn, y mae yr apostol yn ei alw ef, "Yn ddoethineb Duw mewn dirgelwch, sef y ddoethineb guddiedig, yr hon a ragordeiniodd Duw cyn yr oesoedd," 1 Cor. ii. 7. Ac oddiyno yr ymddengys yr angenrheidrwydd i bennodi Proffwyd i'r cyfammod hwn: ac nad oedd neb ond person Dwyfol yn addas i fod yn Broffwyd gwreiddiol o hono; a hyny yn fwy neillduol, gan, o herwydd dallineb y personau yr oedd ef i gael ei ddatguddio iddynt, nas gallasai datguddiad gwrthddrychol yn unig fod yn ddigonol yn yr achos. O herwydd "nid yw y dyn anianol yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw: canys ffolineb ydynt ganddo ef; ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt," adn. 14. O herwydd paham, fe bennodwyd Iesu Grist, fel gweinyddwr y cyfammod, y Proffwyd o hono; yr hwn, yn ol tystiolaeth yr apostol, "y dywedodd Moses wrth y tadau am dano, Yr Arglwydd eich Duw a gyfyd i chwi Broffwyd o'ch brodyr, megis myfi," Act. iii. 22. A phwy bynag ereill a fu ar ryw amser yn broffwydi, efe yn unig oedd y Proffwyd gwreiddiol o hono, Ioan i. 18. "Ni welodd neb Dduw erioed: yr unig-anedig Fab, yr hwn sydd yn mynwes y Tad, hwnw a'i hysbysodd ef."

Dan yr enw hwn, fe osodwyd Crist, 1. Yn Genadwr; 2. Yn Dyst; ac yn 3. Yn Ddeonglwr y cyfammod.

1. Mewn sefyllfa proffwyd, fe'i gosodwyd ef yn *genhadwr y cyfammod*, Mal. iii. 1. i ddwyn y

newyddion da am gytundeb heddwch i'r byd; ac nid yn unig felly, eithr trwy awdurdod y nef, i gyhoeddi y cytundeb i bechaduriaid, i gynnyg iddynt y cymmwynasau sydd ynddo, i ymdrin a hwynt am ei dderbyn ef, trwy ddyfod yn bersonol iddo. Cyfammod o anghydmarol bwys a chynnwysiad yn ddiau yw yr hwn y mae y fath genadwr yn perthyn iddo.

2. Yn yr un sefyllfa, fe'i gosodwyd ef yn dyst y cyfammod, Esa. lv. 4. "Wele, rhoddais ef yn dyst i'r bobl." Fe wyddai Duw bod y byd yn fyd euog, a'u cydwybodau yn tystiolaethu yr haeddiant o farwolaeth; ac am hyny y byddai iddynt fod yn bur hwyrfrydig i gredu y newyddion da o'r nef, mewn perthynas i'r cyfammod hedd: ac, o herwydd yr achos hwn, efe a ewyllysiodd roddi iddynt un cymhwys i dystiolaethu y gwirionedd o hono; ac a bennododd ar Iesu Grist i'r dyben hyny. Yr oedd efe yn fab i Adda; felly yr oedd efe yn fwy cymhwys i'w gyhoeddi ef i ddynion: yr oedd efe yn dragywyddol Fab Duw; ac am hyny nid oedd yn ddarostyngedig i gyfeiliorni neu gamsynied yn ei dystiolaeth. Yr oedd efe yn llygad-dyst o'r gorchwyl tragywyddol; ac felly efe a allasai lafaru yn y mater *yr hyn a welodd gyda'i Dad*, Ioan viii. 38. Efe a ddaeth i waered o'r nef, y lle y gwnaethwyd y cyfammod, i'r ddaear, yr hon y gwnaethwyd ef er cymmwynas iddi: o herwydd paham, efe a allasai dystiolaethu ar y ddaear, yr hyn a welodd yn y nef, mewn perthynas iddo, Ioan iii. 31, 32. "Yr hwn sydd yn dyfod o'r nef, sydd goruwch pawb: a'r hyn a welodd efe ac a glywodd, hyny y mae efe yn ei dystiolaethu." Ynddo ef yr ydym yn cael tyst dau-blyg, yr hyn sydd gyflawn dystiolaeth mewn cyfraith. Efe yw yr "Amen, y tyst ffyddlawn a chywir," Dat. iii. 14. Ynddo ef yr ydym yn cael tystiolaeth dyn; mewn perthynas i'r

hyn y mae efe y tyst ffyddlon: a thystiolaeth Duw; mewn perthynas i'r hyn y mae efe y tyst cywir, ie, y gwirionedd ei hun. Cymharwch Ioan viii. 18. "Myfi yw yr hwn sydd yn tystiolaethu am danaf fy hun;" lle y dywedir, fod Crist, fel tyst Dwyfol, o ran ei Dduwdod, yn tystiolaethu am dano ei hun fel dyn, yn ymddangos yn y byd, yn datguddio y cyfammod. Ac mewn perthynas i'r ddau hyn, efe yw yr Amen, tystiolaeth yr hwn sydd yn cadarnhau ac yn penderfynu gwirionedd y mater yn ol y gyfraith.

3. Y mae efe yn yr un sefyllfa wedi ei osod yn ddeonglwr y cyfammod, Job xxxiii. 23. i'w ddangos ef i ddynion. Yr ydym ni, nid yn unig yn hwyrfrydig i gredu'r cyfammod, eithr y mae yn anhawdd i ni ei ddeall ef. Y mae ef yn gorwedd mor bell uwchlaw ein deall naturiol ni, fel nas gallwn ei ddeall ef mewn modd cadwedigol, oddieithr *i Fab Duw roddi i ni feddwl* (goruwchnaturiol) *fel yr adnabyddom yr hwn sydd gywir*, 1 Ioan v. 20. A phwy bynag a'i deallo ef felly, y mae yn rhaid iddynt gael eu *dysgu gan Dduw*, Ioan vi. 45. hyny yw, gan Iesu Grist, adn. 46. Felly, y mae efe wedi ei osod gan y Tad yn ddeonglwr, ac yn ddysgawdwr mawr y dirgeledigaethau sydd yn y cyfammod: ac y mae yn rhaid i holl blant y cyfammod fod yn ysgolheigion iddo ef, a dysgu ganddo ef.

Yn awr, fe all gweinyddiad Crist o'r cyfammod, fel y proffwyd o hono, gael ei gymmeryd i fynu yn y tri pheth hyn a ganlyn.

1. Ei waith yn cyhoeddi ac yn cynnyg y cyfammod i bechaduriaid trwy ei air, i'w dwyn hwynt yn bersonol iddo ef. Efe a wnaeth hyn oddiar gwymp Adda, ac y mae yn ei wneuthur yn awr, ac efe a'i gwna hyd ddiwedd amser, pan y gor-

phenir dirgelwch Duw. Efe a ddechreuodd yr oruchwyliaeth hon o eiddo yr Hen Destament yn ei berson ei hun. Gan ymddangos mewn agwedd ddynol, efe a roddodd â'i enau ei hun yr hyspysrwydd cyntaf o'r cyfammod a fu yn y byd erioed, ac a wnaeth y cynnyg cyntaf o hono yn mharadwys, Gen. iii. 8, 15. Efe a ddygodd hyn y'mlaen trwy broffwydi a dysgawdwyr gosodedig ereill, y rhai a awdurdododd efe i'r dyben hyny, ac a gynnysgaeddodd efe â doniau i'r gwaith. Efe a osododd y rhai blaenaf o'r rhai'n i ysgrifenu yn ei enw ef, yn gystal a llafaru ynddo, yn y mater hwnw; a thrwy y ddau, efe a lafarodd wrth bechaduriaid, gan gyhoeddi a chynnyg y cyfammod iddynt wrth eu henw, pa un bynag a'i trwy y gair a ysgrifenwyd neu a lafarwyd. Ac yn y modd hyn y trefnodd efe y gwaith hwnw, er iachawdwriaeth y rhai a gredasant yn yr oesoedd patriarchaidd, cyn ac ar ol y diluw; ac o hyd yn amser yr eglwys Iuddewig, o Moses hyd ddiwedd yr oruchwyliaeth hono. Yno efe a ddechreuodd oruchwyliaeth y Testament Newydd, yn ei berson ei hun. Wedi iddo trwy ei gnawdoliad ddyfod yn ddyn, efe a gyfaddasodd ei hun at y gwaith. Er iddo gael ei *eni yn frenin yr Iuddewon*, Mat. ii. 2. ac y mynai llawer o honynt iddo gymmeryd yr orsedd, Ioan vi. 15. etto efe a ddewisodd yn hytrach ymddangos yn enw proffwyd. ac ymroddi i waith y weinidogaeth, i bregethu'r efengyl, a chyhoeddi a chynnyg y cyfammod i bechaduriaid oedd yn trengu: ac felly yr oedd efe "yn weinidog i'r enwaediad," Rhuf. xv. 8. Cysgod o hono ef yn y sefyllfa hon yn bennodol, oedd Salomon, y brenhinol-bregethwr hwnw, Preg. i. 1. a hyn hefyd a wnaeth, ac y mae o hyd, yn ei ddwyn yn mlaen yn gyfryngol trwy ddirprwy, yn enwedigol ar ol ei esgyniad i'r nef; a hyny mewn rhan trwy ei apostolion a swyddogion anghyffredinol ereill,

y rhai a osododd efe ar waith i ysgrifenu, yn gystal a llafaru yn ei enw ef; ac mewn rhan trwy weinidogion cyffredinol yr efengyl, y rhai sydd i barhau yn yr eglwys hyd ddiwedd y byd, Eph. iv. 11, 12, 13. Yn y modd hyn, y mae efe yn awr yn gweinyddu y cyfammod i ni, trwy osod ei air ysgrifenedig yn yr Hen 'Destament a'r Newydd yn ein dwylaw, ac anfon dynion yn ei enw i bregethu yr efengyl i ni. Trwy y moddion hyn y mae efe yn llafaru wrth bechaduriaid, gan gyhoeddi a chynnyg y cyfammod iddynt: ac felly, y mae efe yn dwyn y gwaith y'mlaen, er iachawdwriaeth i'r rhai sydd yn credu, ac er gosod y rhai angrhediniol yn ddiesgus, 2 Cor. v. 20. Dat. iii. 22. Luc. x. 16. O herwydd hyn, y mae y cynnyg o'r cyfammod, sydd yn cael ei wneuthur i ni yn yr efengyl, yn gynnyg o'i eiddo ef: ac er bod y geiriau yn cael eu hanfon atom ni trwy ddynion, nid ydynt ond ei lef ef, efe yw y llafarwr. Gan hyny "edrychwch na wrthodoch yr hwn sydd yn llafaru," Heb. xii. 25.

2. Ei waith yn gwneuthur y cyhoeddiad a'r cynnyg o'r cyfammod yn effeithiol i'r etholedigion, trwy'r Ysbryd, 1 Ped. i. 12. "Gan y rhai a efengylasant i chwi trwy yr Ysbryd Glân, yr hwn a ddanfonwyd o'r nef." Fe all Proffwyd mawr y cyfammod ddysgu yn effeithiol, y pechadur mwyaf annysgadwy o ddynolryw; a pheri i oleuni lewyrchu, nid yn unig mewn byd tywyll, eithr mewn calonau tywyll, trwy ei Ysbryd: o herwydd y mae y cyflawnder o Ysbryd goleuni ynddo ef, ac y mae yr eli llygaid i'r deillion ysbrydol ganddo ef, Dat. iii. 18. Efe a ŵyr pwy yw y rhai sydd yn eiddo ef, yn enw pa rai y cyfammododd efe â'i Dad, ac y derbyniodd yr addewid o'r Ysbryd: ac yn gynharach neu yn hwyrach y mae efe yn eu goleuo hwynt felly, fel y mae yn eu gwaredu hwynt o dan eu dallineb ysbrydol, ac yn gwneu-

thur y gweinyddiad o'r cyfammod yn effeithiol iddynt hwy, pa mor aneffeithiol bynag y byddo i ereill, Col. i. 13. Ac y mae efe yn gwneuthur hyn, trwy ddwyn ei air atynt mewn awdurdod, trwy effeithioldeb ei Ysbryd yn agor eu llygaid. Yn y lle cyntaf, trwy waith ei Ysbryd yn gweithredu arnynt fel Ysbryd caethiwed, y mae yn dwyn y gyfraith santaidd adref at eu cydwybod, yn ei gorchymynion a'i melldithion, megis o Ddwyfol allu, yn rhwymau arnynt hwy mewn modd neillduol. Trwy hyn, y maent yn cael eu hargyhoeddi o'u pechod a'u truenusrwydd, yn gweled eu pechod megis peth echryslon y'ngolwg Duw, a'i ddigofaint yntau yn ddyledus iddynt hwythau am eu pechod: y maent yn cael eu llanw ag atgno y meddwl, dychryn, a phryder; yn cael eu dwyn i ddychlamu am esmwythder, yn teimlo neillduol angen o Grist a'i gyfiawnder, ac yn anobeithio am esmwythder mewn un ffordd arall, Act. ii. 37. pen. xvi. 29, 30. Yno, trwy yr un Ysbryd, yn gweithio o'u mewn hwynt fel Ysbryd y bywyd, ac yn cael ei gyfranu iddynt hwy o Grist ei hun, y'ngair yr efengyl, y mae yn argraffu yr efengyl ogoneddus, hyd adref, ar eu calonau a'u cydwybodau, yn ei rhydd addewid o fywyd a iachawdwriaeth i bechaduriaid, trwy Iesu Grist, megis y mae hi yn yr ysgrythyrau santaidd; gan egluro ac arddangos iddynt, yr unrhyw, yn anffaeledig air y tragywyddol Dduw, a'i air ef iddynt hwy yn neillduol, 1 Thes. ii. 13. "I chwi ei dderbyn ef, nid fel gair dyn, eithr (fel y mae yn wir) yn air Duw," Pen. i. 5. "Oblegid ni bu ein hefengyl ni tuag atoch mewn gair yn unig, eithr hefyd mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân, ac mewn sicrwydd mawr." Yr eglurhad hwn o eiddo yr Ysbryd, yw yr hyn sydd yn ddiatreg yn amlygu iddynt eu sail i gredu, mewn modd neillduol, megis y mae'r apostol yn dywedyd, 1 Cor. ii. 4, 5. "A'm pregeth

i a fu—yn eglurhad yr Ysbryd, a nerth: fel na byddai eich ffydd mewn doethineb dynion, ond mewn nerth Duw:" ac y mae hi yn dystiolaeth dufewnol o air yr efengyl atynt hwy, yn wahanol oddiwrth y dystiolaeth allanol neu weinidogaethol egluraf o hyny, yn ol ymadrodd ein Hiachawdwr, Ioan xv. 26, 27. "Ysbryd y gwirionedd, yr hwn sydd yn deilliaw oddiwrth y Tad, efe a dystiolaetha am danaf fi. A chwithau hefyd a dystiolaethwch." Y maent trwy y gallu hwn, yn cael, (trwy olwg ysbrydol, Ioan vi. 40. a gwybodaeth o Grist yn ei ragorol ogoniant a'i arddercḥawgrwydd, yn cael ei arddangos iddynt yn addewid rhad yr efengyl,) eu dwyn i gredu yn anffaeledig. Trwy i'r Ysbryd gymhwyso gair yr efengyl yn y modd hyn atynt, y maent yn ei gofleidio ef yn awyddus, ac yn ei gymhwyso ef atynt eu hunain trwy ffydd, megis y gellir gweled yn y dychwelwyr hyny, Act.ii. 38, 39. 41. "A Phedr a ddywedodd wrthynt, Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau: canys i chwi y mae yr addewid. Yna y rhai a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar, a fedyddiwyd."

*Yn ddiweddaf*, Ei waith yn eu dysgu a'u hyfforddi trwy ei air a'i Ysbryd, o hyny allan, fel plant y cyfammod, ei ddysgyblion ei hun. Y mae holl gynllun iachawdwriaeth, sydd wedi ei osod i lawr yn y cyfammod, yn ddirgelwch o amryw ddoethineb Duw, o'r hyn y mae mwy-fwy o hyd i'w ddysgu: a Christ yw y Proffwyd mawr sydd i'w addysgu ef. "Dirgelwch yr Arglwydd sydd gydâ'r rhai a'i hofnant ef; a'i gyfammod hefyd, i'w cyfarwyddo hwynt," Psal. xxv. 14. Y mae y saint, trwy y gweddillion o dywyllwch sydd yn eu meddyliau tra y maent yma, yn barod i golli eu golwg ar y pleidiau yn y cyfammod: eithr y mae y Proffwyd mawr i ddangos iddynt y

Tad, ac i amlygu ei hun iddynt, trwy yr Ysbryd. Nis gall ammod y cyfammod, sef cyfiawnder y Cyfryngwr ei hun, yr unig sylfaen o'u holl obaith, gael ei gadw mewn golwg, ond trwy oleuni y bywyd o hono ef ei hun. Ac yn y goleuni hyn yn unig y gallant hwy gael golwg gredinol ar addewidion a rhagorfreintiau y cyfammod. Ac y mae dyledswyddau y cyfammod, rheol pa rai yw cyfraith dra ëang y deg gorchymyn, yn lliosog; ac er eu bod yn eglur ynddynt eu hunain, etto y maent yn aml mor dywyll a dyrus i ni, fel nas gallwn wahaniaethu rhwng trosedd a dyledswydd: eithr y mae gan blant y cyfammod ddysgawdwr anffaeledig, â'r hwn y gallant ymgynghori y'mhob achos, ac oddiwrth yr hwn y gallant ddysgu pa fodd i lywio eu gyrfa y'mhob pwnc; "y rhai llariaidd a hyfforddа efe mewn barn: a'i ffordd a ddysg efe i'r rhai gostyngedig," Psal. xxv. 9.

Nis gall dim ond gras y cyfammod newydd, ymlid ymaith yn ddigonol, y tywyllwch a ddygwyd ar ddynolryw trwy bechod. Y mae y gwir oleuni yn gymmwynas o eiddo y cyfammod hwnw, wedi ei phwrcasu â gwaed Crist, a'i llettya gydâg ef, y'mhlith y lleill o'r cymmwynasau a ymddiriedwyd iddo ef: ac y mae y cyfraniad o hono yn ei law ef, megis Proffwyd mawr y cyfammod. Ato ef, gan hyny, y rhaid i ni fyned i ymofyn am oleuni, y'mhob achos, pa un bynag ai dan dywyllwch hanner nos ein cyflwr naturiol, neu dan dywyllwch gwawrddydd ein cyflwr anmherffaith presenol o ras, y byddom: ie, y'ngoleuni canolddydd y gogoniant, *yr Oen yw goleuni y ddinas nefol*, Dat xxi. 23.

Ac yn y modd hyn Crist yw Proffwyd y cyfammod.

IV. Crist yw Brenin y Cyfammod.

Y mae y cyfammod gras yn fater o'r fath ddir-

fawr bwys, er gogoniant Duw, a daioni eneidiau, ac o'r fath helaeth a chyffredinol elw i ddynolryw, fel yr oedd y gweinyddiad o hono yn gofyn am un wedi ei urddo â gallu ac awdurdod brenhinol i'r dyben hyny. Fe ddarfu i lywodraethiad y personau, gwrthddrychau y gweinyddiad, yn nghyd â natur y peth ei hun, yr hyn a berthyn i'r tufewnol ddyn yn benaf, a'r dosparthiad o gymmwynasau mwyaf dewisol y nef, droi, ar unwaith, heibio y mwyaf o ddynion, a'r uwchaf o'r angelion, megis rhai mor anghymhwys i'r swydd hono, ag oeddent i ddwyn byd arall i fod o ddim. O herwydd paham, fe ddarfu i ddewisiad y Tad, yn y mater, yn naturiol ddisgyn ar ei Fab ei hun, yr ail Adda: ac fe'i gwnaethwyd ef yn Frenin y cyfammod.

Y mae Duw, fel Creawdwr y byd, yn Frenin yr unrhyw, trwy hawl wreiddiol, ac anneilliedig: ac felly y mae ganddo ef yr awdurdod uchaf arni hi, o'r hyn nis gall efe ddiosg ei hun, mwy nâg o'i hanfod. Y deyrnas hanfodol yw hon, sydd yn perthyn yn gyffredinol i'r tri pherson yn y Duwdod gogoneddus, y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân.

Eithr y mae teyrnas y cyfammod, am yr hon yr ydym ni yn llafaru, yn un ddeilliedig, anfonedig dros arall, yr hon y mae y Cyfryngwr Crist yn ei dal dros ei Dad, yn ol rhediad y cyfammod, er y gweinyddiad o hono, megis y mae wedi ei gyhoeddi, Psal. ii. 6. "Minnau a osodais fy Mrenin ar Sion fy mynydd santaidd." Yn awr, dyben mawr y gweinyddiad hwnw, yw casglu y'nghyd bechaduriaid o ddynolryw, yn un corff, dan rwymyn y cyfammod; a'u gwneuthur yn ddedwydd yn y mwynhad o'i ragorfreintiau ef, mewn gras a gogoniant: yr hwn gorff, sef yr eglwys, yw teyrnas y cyfammod, teyrnas oedd i gael ei hennill, a'i chodi o'r byd gwrthryfelgar o ddynolryw, oedd yn

gorwedd mewn drygioni; i'r hon y gosodwyd Crist, gan ei Dad, yn unig Frenin a Phen.

Mewn is-wasanaethiad i'r deyrnas hon, fe roddwyd teyrnas rhagluniaeth, trwy'r byd, hefyd iddo ef, gan ei "roddi ef yn ben uwchlaw pob peth i'r eglwys, yr hon yw ei gorff ef," Eph. i. 22, 23. fe'i gosodwyd ef i lywodraethu, nid yn unig ar ei ewyllysgar ddeiliaid, ond hefyd "y'nghanol ei elynion," Psal. cx. 2. Fe ddarfu i drefniad olwyn rhagluniaeth, trwy'r holl fyd, gael ei osod yn llaw Brenin Sion. I'r un llaw ag y darfu i'r Tad gyflwyno llywodraeth yr eglwys, y darfu iddo hefyd gyflwyno llywodraeth y byd: o herwydd nid oes dim yn cael ei ganad allan; "Efe a roddes bob barn i'r Mab," Ioan v. 22. "Pob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear," Mat. xxviii. 18. felly "Arglwydd arglwyddi ydyw, a Brenin brenhinoedd," Dat. xvii. 14. a "thrwyddo ef y teyrnasa brenhinoedd, y barna penaethiaid, y rheola tywysogion a phendefigion, sef holl farnwyr y ddaear," Diar. viii. 15, 16. Yr oedd y penogaeth hwn ar y byd yn angenrheidiol iddo ef er gweinyddiad y cyfammod, fel pen yr eglwys; yn angenrheidiol i ddwyn oddiamgylch y dybenion o hyny. Wedi ei urddo â hyny, y mae efe yn gosod i fynu, ac yn tynu i lawr, yn y byd, megis y mae efe yn gweled yn addas, er dybenion mawrion y cyfammod: ac fe ellir dysgu o ba ddefnydd y mae hyn, yn y gweinyddiad o'r cyfammod, oddiwrth Esa. xliii. 14, 15. "Er eich mwyn chwi (sef er mwyn yr eglwys) yr anfonais i Babilon, ac y tynais i lawr ei holl benaduriaid, a'r Caldeaid. Myfi yw—eich Brenin chwi." Yn y modd hyn, y mae Brenin a Phen yr eglwys yn trefnu pob peth trwy ei ragluniaeth, yn gystal o'r tu allan ac o'r tu mewn i'r eglwys; er mai mewn dull tra gwahanol, o herwydd bod y berthynas sydd rhyngddo a'i bobl ei hun yn gwbl wahanol i'r hon sydd rhyngddo a dyeithriaid. Yr

hyn a gysgodwyd yn Dafydd, yr hwn, er llesiad ei deyrnas ei hun, sef, teyrnas Israel, "a osodwyd yn ben cenhedloedd," Psal. xviii. 43. O herwydd fe ddarfu i "Dafydd daro y Philistiaid, a'u darostwng hwynt," 2 Sam. viii. 1. a'r *Moabiaid*, adn. 2. a'r *Syriaid*, adn. 5. "a bu holl Edom yn weision i Dafydd," adn. 14. "A theyrnasodd Dafydd ar holl Israel; ac yr oedd Dafydd yn gwneuthur barn a chyfiawnder i'w holl bobl," adn. 15.

Yn awr, y gweithredoedd penaf o weinyddiad Crist o'r cyfammod, megis y mae efe yn Frenin y cyfammod, yw y rhai hyn:

1. Ei waith yn gosod ordinhadau ei deyrnas, i'r dyben o ddwyn pechaduriaid yn bersonol i'r cyfammod, ac i gadarnhau a chryfhau y rhai cyfammodol; megis hefyd i osod swyddogion ei deyrnas, i weinyddu yr ordinhadau hyny yn ei enw a'i awdurdod ef. Yr oedd y naill a'r llall o honynt yn wahanol dan yr Hen Destament, i'r hyn y maent dan y Newydd; yr hyn a wnaeth ddau wahanol ddull o weinyddiad allanol o'r cyfammod; yr Hen, yn un sydd wedi myned heibio; a'r Newydd, yn un i barhau hyd ddiwedd y byd: eithr yr oedd y ddau oddiwrth yr un awdurdod, ac i ddwyn oddiamgylch yr un bwriad mawr o eiddo'r cyfammod, yn gyfattebol i'r gwahanol amserau yr oeddent wedi eu trefnu iddynt; ac y maent oll i'w cael yn ysgrythyrau yr Hen Destament a'r Newydd, llyfr dull y deyrnas. Yr un Arglwydd Iesu, Angel y cyfammod, oedd yr hwn a "ymddangosodd i Moses yn mynydd Sinai," Act. vii. 38. ac a sefydlodd eglwys y Testament Newydd a'i hordinhadau, ac a "roddes rai yn apostolion, a rhai yn broffwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon; i berffeithio y saint, i waith y weinidogaeth," Eph. iv. 11, 12. Yr un yw Achubwr, Brenin, a Rhoddwr cyfraith, yr eglwys, Esa. xxxiii. 22. "Yr Arglwydd yw ein deddfwr, yr Arglwydd yw ein brenin; efe a'n ceidw."

2. Anfon ei gyhoeddiad brenhinol allan i'r byd, trwy ei genhadau, yn yr efengyl; gan gyhoeddi y rhydd i bwy bynag a ddel ato ef, ac ymuno âg ef trwy ffydd, fel Pen y cyfammod, gael ei dderbyn yn ewyllysgar i'r cyfammod, a chael hawl i'r holl ragorfreintiau sydd ynddo, trwy undeb âg ef, Marc xvi. 15, 16. "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur. Y neb a gredo ac a fedyddier, a fydd cadwedig." Yn hyny, y mae y cyfammod yn cael ei gyhoeddi, a'i gynnyg yn ei enw ef, i bob pechadur o ddynolryw y mae y llef hon yn cyrhaedd ei glustiau: y mae galwad, gorchymyn, ac arch iddynt ddyfod i'r cyfammod, ac ymostwng i'w deyrnwialen frenhinol ef. Ei alwad a'i gynnygiad ef yw eu gwarant hwy i ddyfod. Y mae ei orchymyn ef yn eu rhwymo hwynt i ddyfod, fel nas gallant beidio, ond mewn gwrthryfel ac anufudd-dod i'w frenhinol awdurdod ef. Y mae yr addewidion yn cael eu gosod o'u blaen hwynt yn annherfynedig, fel y gallo y neb a ewyllysio, trwy gredu, eu cymhwyso hwynt ato ei hun. Nid yw cyhoeddiad y brenin yn ymyraeth dim â dirgeledigaethau yr etholedigaeth dragywyddol, i'w datguddio hwynt. Eithr y mae addewidion y cyfammod, sydd i gael eu cyflawni yn anffaeledig mewn rhai, wedi eu hysgrifenu yn llythyr-cymun Crist, i bechaduriaid o ddynolryw yn annherfynedig, i gael eu cyflawni i bawb a phob un a'u cofleidio hwynt trwy ffydd: ac y mae y cyhoeddiad yn gwneuthur drybwylliad cyfreithlon o'r llythyr-cymun. Y drybwylliad hwn yw y moddion gosodedig i genedlu ffydd, a dwyn pechaduriaid i'r cyfammod trwy hyny; oblegid *ffydd sydd trwy glywed*, Rhuf. x. 17. Ac y mae ef yn cael ei wneuthur yn effeithiol i rai, gan yr Ysbryd, trwy ras y cyfammod, sydd wedi ei sicrhau trwy addewid iddynt hwy.

Oddiyma y mae, trwy fod y cyfammod yn cael

ei weinyddu yn y modd hyn, i bawb blith draphlith, fod defnyddio ymadroddion ammodol yn y gweinyddiad o hono; er nad oes yn y cyfammod ei hun ddim ammodau, mewn dull priodol o enwi, ond yr hyn a gyflawnwyd gan Iesu Grist, yn ei berson ei hun. Gan fod gair y cyfammod yn dyfod gydâ'r un fath warant at yr etholedig a'r anetholedig, atynt hwy sydd yn sicr o gredu, ac at y rhai a barhânt yn eu hanghrediniaeth; y mae yn rhaid i'r gweinyddiad o hono mewn modd cydradd i'r ddau, yn nghyhoeddiad yr efengyl, fod, o angenrheidrwydd, trwy gynnyg yr addewidion yn annherfynol, o ran personau; yr hyn sydd raid iddo yn y diwedd gael ei ddosparthu mewn ymadroddion ammodol. Felly fe a gyhoeddwyd i glyw clustiau pawb, "Mi a'th ddyweddïaf di â mi fy hun, a mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw." Ac y mae un yn credu ac yn cymhwyso yr unrhyw ato ei hun, ac y mae efe ar hyny yn cael ei uno â Christ, a'i osod yn y cyfammod, i fwynhau pob amcan achubol: y mae arall, yr hwn sydd yn cael cystal gwarant ddatguddiedig i gredu, â'r llall, eto nid yw efe yn credu; ac felly y mae efe yn syrthio yn fyr o'r addewid. Yn awr, i lefaru yn yr un dull wrth y rhai hyn, sydd yn croesawi gair y cyfammod yn y modd hyn yn wahanol, y mae yn canlyn, yn ol trefn, i draddodi y cyhoeddiad yn y fath ymadroddion a'r rhai'n, "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi," Act. xvi. 31. a, "Yr hwn sydd yn credu ynddo ef, ni ddemnir; eithr yr hwn nid yw yn credu, a ddamniwyd eisoes," Ioan iii. 18. Ar yr un pryd, y mae y cyfammod ei hun yn beth gwahanol oddiwrth ffurf y gweinyddiad allanol o hono.

3. Darostwng yr etholedigion yn effeithiol iddo ei hun, trwy awdurdod ei Ysbryd yn trin y gair felly, fel y mae yn gweithio ynddynt fel cleddyf

yn trywanu eu heneidiau, yn gorchfygu eu gwrthwynebiad a'u cyndynrwydd naturiol, ac yn eu gwneuthur yn ewyllysgar i ymostwng a chofleidio'r cyfammod, Dat. i. 16. "Ac o'i enau yr oedd cleddau llym dau-finiog yn dyfod allan." Fe ellir dysgu beth yw y cleddau hwnw, a phwy fraich gadarn sydd yn ei lywio ef, oddiwrth waith yr apostol yn ei alw ef yn "gleddyf yr Ysbryd, yr hwn yw gair Duw;" Eph. vi. 17. ac y mae ei effaith, trwy gael ei drin gan *fraich ddatguddiedig yr Arglwydd*, yn cael ei fynegu gan y Psalmydd, Psal. cx. 3. "Dy bobl a fyddant ewyllysgar yn nydd dy nerth:" a chan y proffwyd, Esa. xliv. 3—5. "Tywalltaf fy ysbryd ar dy hâd, —a hwy a dyfant.—Hwn a ddywed, Eiddo yr Arglwydd ydwyf fi." Y mae Crist yn cyfranu iddynt hwy, ac i bob un o honynt hwy, ar yr amser gosodedig yn y tragywyddol gyngor, Ysbryd a gras y cyfammod, sydd wedi ei sicrhau iddynt yn y cyfammod trwy addewid: a thrwy hyny y maent yn cael eu bywhau, eu nerthu, a'u pennodi i gredu. A chan ei fod ef yn eu cael hwynt yn garcharorion, er mai carcharorion gobeithiol ydynt, y mae efe yn agor ty eu caethiwed hwynt, gan dori iau pechod, angeu, a'r diafol, oddiar eu gwarau hwynt, trwy waith ei Ysbryd yn cymhwyso ei iawn ef atynt hwy: yr hwn y mae ganddo yr effaith nerthol hyny, gan fod y gyfraith y pryd hyny yn cael cyflawn foddlonrwydd ar eu rhan hwynt; a thrwy i'r gyfraith gael ei boddloni, y mae pechod yn cael tori ei rym; a thrwy i bechod gael tori ei rym, y mae colyn angeu yn cael ei dynu; a thrwy i golyn angeu gael ei dynu, y mae y diafol yn colli ei lywodraeth arnynt hwy; a thrwy i'r diafol golli ei lywodraeth arnynt, nis gall y byd drwg presenol, yr hwn yw ei deyrnas ef, eu dal hwynt yn hwy. Yn y modd hyn, y maent yn cael eu didoli oddiwrth y byd, sydd yn

gorwedd mewn drygioni, a'u gosod yn aelodau o deyrnas Crist; eu gwaredu oddiwrth allu y tywyllwch, a'u trosglwyddo i deyrnas anwyl Fab Duw, Col. i. 13. ac o hyny allan, er eu bod yn y byd, nid ydynt mwy o hono ef, eithr yn ddyeithriaid ac yn bererinion ynddo ef; yn aelodau gwirioneddol a bywiol o deyrnas anweledig Crist; yn gymdeithas, i'r hon y mae y byd yn elyn anghymmodadwy, Ioan xv. 19. "Oblegid nad ydych o'r byd, eithr i mi eich dewis allan o'r byd, am hyny y mae y byd yn eich casâu chwi." Ac yn hyn, y mae Crist mewn modd neillduol yn dangos ei hun yn frenin nerthol mewn rhyfel, trwy nerth ei ras yn gorchfygu y rhai mwyaf gwrthwynebus a gwrthryfelgar, a'u dwyn i'r ymostyngiad mwyaf caredig, a'u gwaredu hwynt o dan gaethiwed a llywodraeth eu gelynion.

4. Eu casglu hwynt, ac ereill gydâ hwynt, y'nghyd, i sefyllfa eglwys weledig, Gen. xlix. 10. "Ato ef y bydd cynnulliad pobloedd." Yn y modd hyn y mae yr eglwys weledig, neu deyrnas Crist yn y byd, yn cael ei hadeiladu: cymdeithas ar wahan oddiwrth deyrnas weledig y diafol, ac yn proffesu ffydd yn, ac ufudd-dod i Grist; ac yn allanol yn dwyn ei arwydd ef, a nod y cyfammod. Yn eu plith hwynt y mae eisteddle sefydledig y gweinyddiad o'r cyfammod, a chyfryngau cyffiedinol yr iachawdwriaeth, a chymmygiadau o ras. Yn eu tir hwynt y mae *llais y durtur* i'w glywed, a *swn yr adar*, yn y pregethiad o'r efengyl ogoneddus; tra y mae gauaf parhaus ar yr holl fyd heblaw hyny. Y mae y Bibl, y Sabbathau, a gweinidogaeth y gair, a'r sacramentau santaidd, ganddynt hwy. Yn eu plith hwynt y mae cymun y saint i'w gael, a llywodraeth eglwysig wedi ei gosod, i reoli yr afllywodraethus, i ostegu drygioni, ac i gefnogi rhodiad rheolaidd. Ac y mae ganddynt y rhagorfraint o amddiffyniad y nef; yn gym-

maint, fel y caiff yr eglwys ei hamddiffyn, a'i gelynion eu hattal a'u gorchfygu felly, gan ei brenin hi, fel y bydd iddi barhau tra safo y byd, er gwaethaf pob gwrthwynebiad a all uffern ei wneuthur yn ei herbyn hi, Mat. xxviii. 20. "Wele, yr ydwyf fi gydâ chwi bob amser hyd ddiwedd y byd."

*Yn ddiweddaf*, Rheoli a llywodraethu ei gywir a'i hynaws ddeiliaid, yn gyfattebol i'r cyfammod, trwy yr hwn y mae ei frenhinol uchelfraint ef wedi ei sefydlu, a'u rhagorfreintiau hwythau wedi eu sicrhau, Esa. ix. 6. "A bydd y llywodraeth ar ei ysgwydd ef." Y mae amryw weithredoedd yn perthyn i'r lywodraeth hon o'i eiddo ef, y prif rai o honynt yw y rhai canlynol.

1. Y mae efe yn rhoddi iddynt gyfreithiau y cyfammod; nid yn unig yn mynegu y cyfryw iddynt yn allanol, trwy ei air; eithr trwy eu dysgu hwynt yn dufewnol, trwy ei Ysbryd, gan eu hysgrifenu hwynt ar lechau eu calonau, a gadael adysgrifen annileadwy o honynt wedi ei sicrhau yno, Heb. viii. 10. "Myfi a ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddwl, ac yn eu calonau yr ysgrifenaf hwynt." Nid yw y cyfreithiau hyn o eiddo'r cyfammod, ddim arall ond cyfreithiau y deg gorchymyn, a roddwyd yn ddechreuol i Adda yn ei greadigaeth, ac ar ei waith ef yn cael ei osod yn mharadwys, a'i sefydlu yno, a osodwyd yn ffurf y cyfammod gweithredoedd; ac yn awr, y maent, i gredinwyr yn Nghrist, yn sefyll heb y ffurf hono, yn y cyfammod gras, megis tragywyddol reol cyfiawnder, â'r hyn y maent hwy i gael eu cydffurfio trwy ras y cyfammod; y cyflawniad o'r hyn sydd wedi ei gyflwyno gan y Tad, i Iesu Grist, megis gweinyddwr y cyfammod. Y mae yntau yn gyfattebol i hyny yn ei ddwyn y'mlaen, trwy ei air a'i Ysbryd, mewn cyfaddasrwydd i'w natur a'u cyflwr hwynt, fel gorchwyliwr pwyllog; gan wneuthur y

cyfreithiau hyn yn adnabyddus iddynt, fel rheol buchedd, i'r rhai y maent yn rhwym yn ol awdurdod oruchaf, ac anghymharol gariad, Duw, eu Creawdwr a'u Prynwr; ac heblaw hyny, y mae efe yn tueddu eu calonau i ufudd-dod i'r unrhyw.

2. Y mae yn rhoddi gwobr y cyfammod iddynt, yn yr yrfa o'u hufudd-dod, Psal. xix. 11. "O'u cadw y mae gwobr lawer." Y mae efe yn wir yn eu gosod i weithio a llafurio, eithr nid i lafurio yn y tân, ac am wagedd, megis y mae gweision pechod: y maent hwy i weithio a llafurio, megis yr oedd yr ŷch wrth ddyrnu yr ŷd, yr hwn nid oedd i gael cauad ei safn, ond oedd i gael gweithio a bwyta ar unwaith. Y mae i'r gwasanaeth sydd yn cael ei wneuthur yn awr i Frenin Sïon, ei wobr yn y byd hwn, yn gystal a gwobr yn y byd a ddaw. Yn ol trefn y cyfammod, y mae rhagorfraint wedi ei sefydlu i ganlyn dyledswydd, megis y wobr o honi; yr hon drefn y mae y brenin yn sylwi arni yn ei weinyddiad. Yn ganlynol, y mae efe yn gosod y rhagorfraint o ddiddanwch, i gynhyrfu y ddyledswydd o alaru, Mat. v. 4. "Gwyn eu byd y rhai sydd yn galaru: canys hwy a ddiddenir:" neillduol arwyddion o serchawgrwydd y nef, i gynhyrfu i rodiad santaidd esmwyth, Ioan xiv. 21. "Yr hwn sydd â'm gorchymynion i ganddo, ac yn eu cadw hwynt—a gerir gan fy Nhad i; a minneu a'i caraf ef, ac a'm hegluraf fy hun iddo." Yn yr un modd, i gynhyrfu yr un santaidd ufudd-dod, y mae efe yn gosod gerbron, y wobr gyflawn yn y bywyd a ddaw, 1 Cor. ix. 24. "Felly rhedwch, fel y caffoch afael." Dat. iii. 21. "Yr hwn sydd yn gorchfygu, rhoddaf iddo ef eistedd gydâ mi ar fy ngorseddfaingc." Ac y mae efe mor sicr o gyflawni yr addewid o'r wobr, o'r ddau fath, fel y gall ei bobl ef fod yn sicr "nad yw eu llafur hwynt yn ofer yn yr Arglwydd," 1 Cor. xv. 58. O herwydd, ffyddlondeb yw gwregys ei lwynau ef; ac, yn ei

waith yn cyfranu y rhagorfreintiau i'w bobl, ar y cyflawniad o'u dyledswyddau, nid yw efe ond cadw trefn osodedig y cyfammod. Nid mai trefn y cyfammod yw, dyledswydd yn gyntaf, ac yna rhagorfraint, y'mhob pwnc: nagê, ei drefn yw, rhagorfraint yn gyntaf, ac yn nesaf dyledswydd, yna rhagorfraint drachefn; ac felly y'mlaen, hyd oni ddelo rhagorfraint a dyledswydd ill dwy i berffeithrwydd yn y nef, heb fod i'w gwahaniaethu mwy. Gwae ni pe byddai yn amgen! Mewn gwirionedd, pe amgen a fyddai, nis gallem gael ein dwyn i'r cyfammod, na'n cadw o'i fewn ef yn ein bywyd, ar ol ein dwyn iddo; o herwydd, pa fodd y mae i un gredu ar y cyntaf, hyd oni byddo iddo unwaith gael ei ragorfreintio â'r bywiocaol Ysbryd? A pha fodd y mae i sant syrthiedig adnewyddu ei ffydd a'i edifeirwch, hyd oni byddo iddo ef yn gyntaf gael ei ragorfreintio â dylanwadau newydd o ras? Ioan xv. 5. "Heboff fi ni ellwch chwi wneuthur dim." Eithr yma y mae y mater yn gorwedd, pan y mae y rhagorfraint flaenorol yn dwyn dyledswydd i mewn, y mae rhagorfraint gynhorthwyol yn canlyn ar gefn y ddyledswydd, yn ol trefn y cyfammod: a'r rhagorfreintiau cynhorthwyol hyn yw y gwobrwyon yr ydym yn lleferu am danynt. Ac y mae yr ysgrythyr yn eu galw hwynt yn *wobrwyon*, mewn golygiad ar y saint; o herwydd eu bod yn cael eu rhoddi i'r sant gweithgar, ar gefn ei waith. Er hyny, y maent mor bell oddiwrth natur gwobr, mewn dull cyfyng a phriodol o'u galw, (yr hyn sydd ar gyfrif gwaith un, yn cael ei gyfrif o ddyled iddo,) âg yw y rhagorfreintiau blaenorol, y rhai sydd yn cynnyrchu y gweithio; eithr y mae y naill a'r llall o honynt yn gydradd, yn wobr gwaith Crist, yn yr ystyr mwyaf manwl a phriodol o wobr.

3. Y mae efe yn gweinyddu dysgyblaeth y cyfammod iddynt, o achos eu hanufudd-dod. Cerydd tadol yw dysgyblaeth y cyfammod, yr

hyn y mae eu cyflwr o amherffeithrwydd yn y bywyd hwn yn sefyll mewn angen o hono, er eu lleshad: ac am hyny y mae ef wedi ei sicrhau iddynt yn y cyfammod, Psal. lxxxix. 30. 32, 33, 34. "Os ei feibion a adawant fy nghyfraith—yna mi a ymwelaf â u camwedd â gwialen. Ond, ni thòraf fy nghyfammod, ac ni newidiaf yr hyn a ddaeth allan o'm genau." Y mae hyn yn perthyn i'r rhan addewidiol o'r cyfammod, ac yn neillduol i'r addewid o santeiddhad, gan nad yw ef yn ddialeddol, ond yn feddyginiaethol; yn foddion wedi ei bennodi i gynhyddu santeiddrwydd ynddynt hwy. Y mae efe yn "ceryddu er lleshad i ni, fel y byddem gyfranogion o'i santeiddrwydd ef," Heb. xii. 10. Yn y modd hyn, y mae yn atteb y dyben *i lanhau anwiredd*, Esa. xxvii. 9. Sef, fel tân, yn toddi paent ac adliw gwrthddrychau halogedig y byd, yn ein golwg ni; ac, megis drych, yn dangos i ni ein haflendid, y mae yn ein cynhyrfu ni, ac yn peri i ni fyned i ymolchi yn yr unig olch-nöe o waed Crist, trwy ffydd. Yn awr, y mae y gweinyddiad o ddysgyblaeth y cyfammod wedi ei gyflwyno i Frenin Sion, Ioan v. 22. "Fe roddes y Tad bob barn i'r Mab." Dat. iii. 19. "Yr wyf fi yn argyhoeddi, ac yn ceryddu y sawl yr wyf yn eu caru." Ac o ran y natur o hono, y mae yn cynnwys pob math o ddyrnodiau; ar eu golud bydol, eu henwau, eu galwad, a'u perthynasau; pob math o gystuddiau corfforol, clefydau, a phoen, damweiniol i gnawd pechadurus; hyd y nôd marwolaeth naturiol ei hun, 1 Cor. xi. 30. 32. ac yn gyffredinol, pob dyrnodiau allanol y mae rhyw rai o feibion dynion yn ddarostyngedig iddynt, Preg. ix. 2. "Yr un peth a ddamwain i bawb fel eu gilydd." Ymhellach, y mae yn cynnwys dyrnodiau ysbrydol, y fath ag enciliad, cuddiad wyneb Duw oddiwrthynt, cadw yn ol oleuni ei wynebpryd, colli rhyw fesur o'u gras a'u cysuron, archolliadau

ysbryd, dychrynfeydd cydwybod, trwy yr hyn y gallant gael eu dwyn i ymyl anobaith yn gwbl: felly fel, er nad yw eu bwrw hwynt i uffern, o fewn cylch dysgyblaeth y cyfammod, etto y mae bwrw math o uffern iddynt hwy, nes peri iddynt *ruo gan aflonyddwch eu calonau*, Psal. xxxviii. 8. o fewn ei gylch ef. A pheth sydd waeth nâg un o'r rhai'n, y mae yn cynnwys iddynt gael eu blino â hudoliaethau erchyll, a'u gosod i fynu fel nôd i'r biccellau tanllyd Satan, Eph. vi. 16. a chaledu eu calonau, Esa. lxiii. 17. a'u goddef i syrthio i un pechod, a hwnw yn un anferth hefyd, er cospedigaeth un arall, megis yn achos Dafydd a Phedr. Y mae y pethau hyn oll o fewn cylch dysgyblaeth y cyfammod: ac y mae y credinwyr yn cael eu bygwth, yn bennodol ac yn union-gyrchol, â hwynt, yn yr achos o'u hanufudd-dod, i'w cyffroi i wylio rhagddo: ie, ac y maent yn aml yn cael eu rhoddi mewn ffordd o gosp, gan Frenin Sion, ar ei anwyl ddeiliaid; fel y gallo, trwy y nodau hyn o'i anfoddlonrwydd i'w pechod, eu ceryddu hwynt, a gwneuthur pechod yn chwerw iddynt, a'u cyffroi i edifeirwch a gwyliadwriaeth. Ac y mae y gwaethaf o honynt oll; hyd y nod y caledwch calonau, a'r cospi un pechod â'r llall, yn cael ei wneuthur, gan ben-arglwyddiaethol ras y cyfammod, yn effeithiol i'r dybenion santaidd hyn: ar ol i'r gras hwn agor y galon mewn adnewyddol edifeirwch, y mae duwiol dristwch am bechod yn tori allan yn fwy nerthol, megis y mae dyfroedd a fyddo wedi ei hir groni. Yn y modd hyn, y mae y dyfroedd chwerwon hyn, trwy redeg yn rhedfa'r cyfammod, yn dyfod yn ddyfroedd meddyginiaethol; y mae y *cleddyfau* llymion hyn, trwy'r cyfammod, yn cael eu curo yn *sychau*; a'r *gwaewffyn trywanedig* hyn, yn *bladuriau*. Y mae holl ddeiliaid Crist yn cyfranogi o'r ddysgyblaeth hon o eiddo y cyfammod, tra y maent yn y

byd hwn; ac y mae yn rhaid iddynt fod dani hi, byd oni chyrhaeddont berffeithrwydd yn y byd arall,' Heb. xii. 6—8.

4. Y mae efe yn rhoddi maddeuant y cyfammod iddynt; y mae maddeu y pechodau a wnaer yn erbyn cyfreithiau Duw yn un o'r uchel-freintiau brenhinol a berthyn i Frenin Sion, yr hwn "a ddyrchafodd Duw â'i ddeheulaw, yn Dywysyg, ac ac yn Iachawdwr, i roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau," Act. v. 31. Efe sydd yn rhoddi y maddeuant cyntaf iddynt, gan symud euogrwydd y dwyfol lid ymaith, yn eu cyfiawnhad hwynt; ac efe hefyd sydd yn rhoddi y maddeuant canlynol iddynt, gan symud euogrwydd yr anfoddlonrwydd tadol ymaith, ar eu gwaith yn adnewyddu gweithrediadau ffydd ac edifeirwch; megis y sylwyd o'r 'blaen. Wedi i'r Tad *roddi pob barn i'r Mab*, y mae y dosparthiad o gymmwynasau y nef, yn ol ffordd a threfn y cyfammod, yn ei law ef; ac y maent, nid yn unig yn cael eu rhoddi er ei fwyn ef, eithr trwy ei law ef.

5. Y mae efe yn gweinyddu amddiffyniad y cyfammod iddynt, tra y maent yn y byd hwn yn mhlith eu gelynion, Psal. lxxxix. 18. "Canys yr Arglwydd yw ein tarian; a Sanct Israel yw ein Brenin." Satan yw eu gelyn maleisus, cyfrwys, a nerthol; eithr Crist yw eu cyfaill, ac y mae yn eu cymmeryd dan ei amddiffyniad. Y mae efe yn eu caru hwynt yn anwyl, megis pwrcas ei waed ei hun, yr aelodau o'i gorff cyfriniol ef ei hun, a rhai yn dwyn delw ei Dad: y mae efe yn anfeidrol ddoeth, ac a all saethu yn well na'r diafol a'i fwa ef ei hun; efe yw yr *un cryfach nag ef*, yr hwn a all rwymo yr *un cryf arfog*. Y mae y byd yn cytuno â Satan, yn ei waith yn eu gwrthwynebu hwynt; eithr ni lwyddant i'w dystrywio hwynt, trwy nerth na thrwy ddichell. O herwydd mwy [illegible] y byd hwn, [illegible] holl [illegible],

1 Ioan iv. 4. "Chwychwi ydych o Dduw, ac a'u gorchfygasoch hwy: oblegid mwy yw yr hwn sydd ynoch chwi nâ'r hwn sydd yn y byd." Y mae y gwaethaf o'u gelynion o'u mewn hwynt, sef, y gweddillion o lygredigaeth, yr hwn, yn nyfnder goruchaf ddoethineb, nid yw yn cael ei fwrw allan tra y parhao y bywyd hwn; eithr yn cael ei adael er holiad a phrofiad iddynt, ac er amlygiad o allu gras eu Brenin hwynt. Ac y mae efe yn amlygu ei allu, yn ei waith yn cadw yn fyw ynddynt hwy, y wreichion o dân santaidd, yn nghanol môr o lygredd; gan beri iddo ymosod yn ei erbyn ef, hyd oni byddo iddo ei sychu ef i fynu yn hollol. Rhuf. vii. 24. "Ys truan o ddyn wyf fi! pwy a'm gwared i oddiwrth gorff y farwolaeth hon? Yr wyf fi yn diolch i Dduw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd." Y mae eu holl elynion hwynt mewn cadwynau ganddo ef; fel nas gallant weithredu yn eu herbyn hwynt, ddim ymhellach nâg y gwelo efe yn addas i ganiatâu iddynt: ac y mae efe yn ol ei ewyllys, yn eu gwahardd hwynt, yn eu rhwymo hwynt trwy ei allu, yn ol eu rhyw, a'u gradd, a pharhad eu hymosodiad, Psal. lxxvi. 10. "Gweddill cynddaredd a waherddi."

*Yn ddiweddaf,* Y mae efe mewn modd awdurdodol yn cwbl-orphen dedwyddwch y cyfammod ynddynt hwy. Efe a'i pwrcasodd ef iddynt, fel offeiriad, y mae yn ei ddatguddio ef iddynt, fel proffwyd; eithr fel brenin, mewn ffordd o awdurdod, y mae efe yn eu gosod hwynt mewn cyflawn-feddiant o hono, Mat. xxv. 34. "Yna y dywed y Brenin wrth y rhai ar ei ddeheulaw, Deuwch, chwi fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi er seiliad y byd." A thrwy yr un awdurdod efe a gyhoedda y farn yn erbyn ei elynion ef a hwythau, wedi eu llwyr orchfygu hwynt, Adn. 41. Ac felly efe a gwbl-

orphen heddwch ei ddeiliaid cyfammodol dros byth.

Hyd yma am weinyddiad Crist o'r cyfammod, fel y Brenin o hono.

V. Crist yw Eiriolwr y Cyfammod.

O ran y cyflawniad o ammod y cyfammod, fe ddaeth Iesu Grist i fod yr offeiriad o hono, sef yr offeiriad yn aberthu ynddo, megis y dangoswyd o'r blaen: felly, er y gweinyddiad o'r cyfammod, efe a ddaeth yn eiriolwr o hono, sef yr offeiriad yn eiriol ynddo. Ni ddarfu i eiriolaeth Crist gymmeryd ei lle yn y gwneuthuriad o'r cyfammod. Fe ddarfu i gariad a gras Duw wneuthur y cynnygiad am gyfammod newydd, yn rhwydd. Yr oedd y rhwyg rhwng Duw a phechaduriaid yn wahanol ei natur, i'r hyn a allasid ei wneuthur i fynu trwy eiriolaeth unigol; yr hyn a allasai gyffroi trugaredd, ond nas gallasai foddloni cyfiawnder, yr hwn oedd yn gofyn aberth am bechod; ac nis gallasid ei foddloni ef trwy ddadleu, ond trwy dalu iawn, Heb. ix. 22. "Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant." Nid yw aberth Crist yn cymmeryd ei le ychwaith yn y gweinyddiad o'r cyfammod: nid oes un angen am un aberth newydd yno; "Canys âg un offrwm y perffeithiodd efe yn dragywyddol y rhai sydd wedi eu santeiddio," Heb. x. 14. Eithr fe gymmerodd ei aberth ef ei le yn naturiol yn y gwneuthuriad o'r cyfammod, a chyflawniad yr ammod o hono; a'i eiriolaeth ef, ei lle yn y gweinyddiad o'r cyfammod, a'r cyflawniad o'i addewidion ef. Yn ganlynol, er y gweinyddiad o'r cyfammod, efe yw yr eiriolwr o hono, Rhuf. viii. 34. "Crist yw yr hwn a fu farw, ie, yn hytrach, yr hwn a gyfodwyd hefyd; yr hwn hefyd sydd ar ddeheulaw Duw, yr hwn hefyd sydd yn erfyn trosom ni."

Yn wir yr oedd angen am eiriolwr, gan nas gallasai y Duw anfeidrol santaidd, a chreaduriaid pechadurus, ddyfod at eu gilydd i sefyllfa heddychol,

na pharhau ynddi, gydâ diogelwch i ogoniant Duw, heb eiriolwr. O herwydd paham, y mae Iesu Grist, wedi iddo gael ei bennodi i hyny, yn yr enw hwnw, wedi myned i mewn "i'r nef ei hun, i ymddangos yn awr gerbron Duw trosom ni," Heb. ix. 24. i drefnu gorchwyliaeth y cyfammod ar ein rhan ni; gan ewyllysio i haeddiant ei aberth gael ei gymhwyso at y rhai hyny y bu efe farw drostynt, i'r dyben o i holl fwriadau ac amcanion y cyfammod fod er cymmwynas iddynt hwy, yn ol y drefn a osodwyd i lawr ac a sefydlwyd yn y cyfammod. Ac y mae yr eiriolaeth hon o'i eiddo ef, yn dderbyniol bob amser, megis y mae efe ei hun yn tystiolaethu, gan ddywedyd wrth ei Dad, Ioan xi. 42. "Myfi a wyddwn dy fod di yn fy ngwrando bob amser." Oddiwrth yr hyn y mae yn ymddangos nad yw gwrthddrych ei eiriolaeth ef yn gydradd ëangder â gwrthddrych ei weinyddiad ef o'r cyfammod, ac o'i waith ef yn gorchwyliaethu yn y pethau perthynol i'r gweinyddiad hwnw; eithr y mae wedi ei gyfyngu i'r rhai hyny, y darfu iddo ef fel ail Adda, eu cynddrychioli yn yr orchwyliaeth dragywyddol. Y mae hyn yn hollol gyttunol â natur y ddyfais dragywyddol er iachawdwriaeth pechaduriaid; yn yr hyn y mae y bwriad tragywyddol wedi gwneuthur gwahaniaeth o bersonau, yn ol yr ewyllys a'r hyfrydwch pen-arglwyddiathol: yr oedd hyn, megis yn un pen-ran yn y gosodiad o'r gweinyddiad, yn neillduol er cymmwynas i wrthddrychau yr etholedig gariad. Felly y mae yr eiriolwr ei hun yn dangos i ni, Ioan xvii. 9, 20, 24. "Nid dros y byd yr wyf yn gweddio, ond dros y rhai a roddaist i mi;—dros y rhai a gredant ynof fi. Y Tad, y rhai a roddaist i mi, yr wyf yn ewyllysio, lle yr wyf fi, fod o honynt hwythau hefyd gydâ myfi."

Y mae Crist yn gweinyddu y cyfammod, fel yr eiriolwr o hono, yn y ffyrdd hyn a ganlyn, yn benaf.

1. Ennill yn effeithiol, trwy ei hawl yn y nef, y dygiad o'r etholedigion yn weithredol i sefyllfa gyfammodol o undeb, cymmundeb, heddwch, a chymmeriad gydâ Duw, yn yr amser gosodedig i hyny, Ioan xvii. 20, 21. "Ac nid wyf yn gweddio dros y rhai hyn yn unig, eithr dros y rhai hefyd a gredant ynof fi trwy eu hymadrodd hwynt: fel y byddont oll yn un; megis yr wyt ti, y Tad, ynof fi, a minnau ynot ti; fel y byddont hwythau un ynom ni." Y maent wrth natur mewn cyflwr o elyniaeth yn erbyn Duw, fel ereill: eithr, trwy eiriolaeth Crist, y mae heddwch yn cael ei wneuthur rhwng y nef â hwynt. Efe a'i pwrcasodd ef iddynt trwy waed ei aberth; fe'i haddawyd ef iddo yn y cyfammod, ar gyfrif hyny; a thrwy ei eiriolaeth y mae efe yn ei ennill ef yn weirhredol iddynt hwy. Ei eiriolaeth ef yw y tyn-lafn (*spring*) sydd yn gosod yr holl olwynion mewn ysgogiad, ac y sydd yn cael eu gosod ar waith yn amser serchawgrwydd, i ddwyn un o gyflwr natur i gyflwr o ras. Y mae Rhagluniaeth yn dirion tuag at ddychweliad y dyn; y mae y gair yn effeithio yn rymus arno ef, tra y mae yn syrthio ar ereill fel gwlaw ar y graig, yn rhedeg ymaith mor gynted ag y mae yn disgyn; y mae gorchwyliaeth yr iachawdwriaeth dragywyddol yn cael ei dwyn yn agos at y galon gydâg ef; y mae y gyfraith yn cyflawni ei swydd arno ef, ac felly y mae yr efengyl hefyd yn ei thro: ac nid yw y pethau hyn yn ymattal hyd oni ddyger ef i gyflwr newydd, a'i wneuthur ef yn greadur newydd. O ba le y tarddodd hyn oll? Paham? y mae gan y dyn gyfaill anadnabyddus iddo yn llys y nef, yr hwn a ddadlarodd drosto wrth y Brenin: a thrwyth ei eiriolaeth ef drostynt hwy yw hyn oll.

2. Ymddangos drostynt hwy, a chymmeryd meddiant o'r nef yn eu henw hwynt, y'nghyd â holl gymmwynasau ereill y cyfammod, y rhai y mae ganddynt hwy hawl iddynt, trwy rinwedd

eu sefyllfa gyfammodol newydd, Eph. ii. 6. "Ac a'n cyd-gyfododd, ac a'n gosododd i gyd-eistedd yn y nefolion leoedd yn Nghrist Iesu." Heb. vi. 20. "I'r man yr aeth y rhag-flaenor drosom ni." Yn y moment yr elo y pechadur i mewn i'r cyfammod, trwy gredu, y mae ganddo hawl i'r cwbl; oherwydd, *os plant, etifeddion hefyd,* Rhuf. viii. 17. Er hyny, fe ymddengys fod y meddiant yn cael ei oedi yn hir ar ol yr amser hwn, i'r rhan fwyaf o blant Duw. Eithr dylid ystyried, y gall meddiant gael ei gymmeryd, nid yn unig gan ddyn yn ei berson ei hun, eithr mewn person un arall hefyd: yn y modd hyn, fe all un, trwy ei gyfreithiwr, gymmeryd meddiant o etifeddiaeth nas gwelodd efe erioed; ac fe all un a fyddo dan oed, trwy ei gynnrychiolwr, fod yn feddiannol ar yr hyn nid yw yn addas hyd yn hyn ei roddi iddo ef yn ei law ei hun. Felly, er bod y meddiant o'r cwbl yn ei berson ei hun, yn cael ei oedi i'r credadyn, etto yn yr ystyr hyn, nid yw yn cael ei oedi un moment ar ol iddo gredu yn Nghrist; o herwydd y mae ei gyfryngwr yn gweithredu drosto ef yn y matter. Pa beth a ddylai attal y dull hyn o feddiant, un moment ar ol credu? O herwydd y mae ammod yr addewid yn hawl ddiamheuol; ac y mae y pechadur, er ei fod ef ar y ddaear, trwy ffydd yn ei dadleu hi gerbron Duw yn y nef; ac y mae Crist yno, fel ei gynddrychiolwr a'i eiriolwr ef, i gymmeryd meddiant yn ei enw ef. Am hyny, fe ddylai pob credadyn gyfrif ei hun mewn modd cyfiawn, er ei fod *heb ddim ganddo, etto yn meddiannu pob peth,* 2 Cor. vi. 10. ac *yn gyflawn ynddo ef,* Col. ii. 10.

3. Cynnal yr heddwch rhwng Duw a hwynt, tra y maent yn y byd hwn. Wedi iddo brynu eu heddwch hwynt gan y nef, trwy ei aberthu ei hun, a thrwy ei eiriolaeth eu dwyn hwynt i gyflwr heddychol, nid yw yn eu gadael hwynt i gynnal

yr heddwch yn ol hyny: na, pe y byddai felly, fe fyddai diwedd arno yn fuan. Y mae cynnifer o ffaeleddau o'u tu hwynt, tra y maent yn cael eu cylchynu â'r corff o bechod, fel y mae gan eu cydwybodau eu hunain beth i'w cyhuddo hwynt bob dydd; ac y mae y diafol yn ddibaid gyhuddwr y brodyr; eithr y mae Crist yn eiriol drostynt hwy, er rhagflaenu hollol rwygiad, bob amser, rhwng y nef a hwynt; pa fodd bynag y dichon iddynt am eu pechodau syrthio dan anfoddlonrwydd tadol Duw: ar sail ei iawn drostynt, y mae efe yn ateb pob cyhuddiadau sydd yn dyfod yn eu herbyn hwynt, ac yn symud pob anghytundeb o rhyngddynt hwy a'u cyfammodol Dduw, 1 Ioan ii. 1, 2. "Ac o phecha neb, y mae i ni eiriolwr gydâ'r Tad, Iesu Grist y cyfiawn: ac efe yw yr iawn dros ein pechodau ni." Oddiar hyn y mae yr apostol yn buddugoliaethu ar eu holl gyhuddwyr hwynt, Rhuf. viii. 33, 34. "Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw? Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhau: Pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr hwn a fu farw—yr hwn hefyd sydd yn erfyn trosom ni." O herwydd paham, y mae eu sefyllfa o heddwch â Duw yn cael ei chynnal yn anniddymadwy; er y gallant, er cerydd iddynt, yn ddiau, golli yr olwg a'r teimlad o hono dros amser. Wedi iddo unwaith ddyfod yn gyfaill iddynt yn Nghrist, efe a all yn wir eu ceryddu hwynt yn llym am eu beiau, eithr nid yw efe byth mwy yn dyfod yn elyn iddynt, hyd y nod mewn ffordd o gyfreithol elyniaeth; llawer llai mewn ffordd o wirioneddol elyniaeth, Rhuf. viii. 1. Esa. liv. 9.

4. Ennill iddynt ddyfodfa at Dduw, a derbyniad gydâg ef, er eu hanmherffeithrwydd tra y maent yn y bywyd hwn. Nid yw y saint ar y ddaear un amser heb orchwyl yn llys y nef; etto, gan eu bod yn bechadurus, y maent ynddynt eu

bunain yn anghymhwys i ddyfod i bresenoldeb y Brenin: eithr y mae eiriolwr y cyfammod yn eu harwain hwynt i mewn, ac yn ennill dyfodfa iddynt, trwy eu hawl yn y llys: "Oblegid trwyddo ef y mae i ni ddyfodfa mewn un ysbryd at y Tad," Eph. ii. 18. A thrwyddo ef y maent yn cael dyfodfa mewn *hyder*, pen. iii. 12. Y mae efe yn gwneuthur eu personau yn *gymmeradwy*, er y pechadurusrwydd sydd yn glynu wrthynt: y maent "yn gymmeradwy yn yr Anwylyd," Eph. i. 6. Y mae ganddynt *allor* ynddo ef, sydd yn santeiddio eu rhoddion hwynt, Heb. xiii. 10. Felly, fel y mae eu *haberthau ysbrydol* hwynt, er nad ydynt yn ddianaf, yn "gymmeradwy gan Dduw trwy Iesu Grist," 1 Pedr ii. 5. Y mae eu gweddiau, y rhai sydd mewn ffydd, er eu bod yn arogli yn ddrewllyd o weddillion llygredigaeth y natur, etto trwy iddynt gael eu perarogli gan yr eiriolwr, âg arogl-darth ei haeddiant, y maent yn cael eu derbyn yn y nef, ac attebiad grasol yn cael ei roddi iddynt, Dat. viii. 3. Y mae eu gwasanaeth gweithredol, a'u gwasanaeth dyoddefol, yr hwn, bydded mor brisfawr ag y byddo, nis gall gael ei dderbyn er mwyn ei deilyngdod ei hun, trwy ei eiriolaeth ef yn dderbyniol, megis wedi *eu golchi a'u canu y'ngwaed yr Oen*, Dat. vii. 14.

*Yn ddiweddaf*, Ennill derbyniad iddynt i'r nef mewn amser dyladwy, a pharhau eu cyflwr o berffaith ddedwyddwch yno tros byth bythoedd, Ioan xvii. 24. "Y Tad, y rhai a roddaist i mi, yr wyf yn ewyllysio, lle yr wyf fi, fod o honynt hwythau hefyd gydâ myfi." Fe ddarfu i'n Harglwydd Iesu Grist, gael ei osod gan ei Dad, yn *Offeiriad yn dragywyddol*, Psal. cx. 4. Er hyny, wedi iddo offrymu ei hun yn aberth ar y groes, nid yw efe yn offrymu un aberth mwyach. Gan hyny nid yw efe i fod yn Offeiriad yn

aberthu yn dragywyddol, eithr yn Offeiriad yn eiriol, megis y mae yr apostol yn egluro, Heb. vii. 25. "Gan ei fod ef yn byw bob amser i eiriol drostynt hwy." Y mae "ysbrydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd," yn cael eu perffeithio yn ddiaros ar ol marw, nid oes dim anmherffeithrwydd mwy yn perthyn i'w heneidiau, mewn ystyr foesol, Heb. xii. 23. Ac ar ol yr adgyfodiad, ni bydd dim anmherffeithrwydd yn perthyn i'w cyrff ychwaith, 1 Cor. xv. 53. Yr effaith, gan hyny, o eiriolaeth Crist yn dragywyddol, a raid fod, y tragywyddol barhad o'u cyflwr dedwydd hwynt; trwy dragywyddol ewyllysiad eu heiriolwr hwynt o'r unrhyw, ar sail yr iachawdwriaeth dragywyddol a ennillodd efe iddynt hwy, trwy ei aberthu ei hun. Fe fydd anfeidrol haeddiant ei aberth ef yn cael ei dragywyddol gyflwyno gerbron Duw yn y lle santaidd, tra y byddo efe yn ymddangos yno yn ein natur ni yn wastadol: a hyn fydd y tragywyddol ddiogelwch o barhad dedwyddwch y saint. Yr hwn ddedwyddwch gan darddu o haeddiant ei aberth ef, fel eu Hoffeiriad hwynt, a gaiff ei gyfranu iddynt hwy ganddo ef, fel eu Proffwyd a'u Brenin hwynt: o herwydd ni bydd i'r swyddau hyn o'i eiddo ef, byth gael eu troi heibio. Megis y mae efe *yn Offeiriad yn dragywyddol*, felly hefyd, ar ei frenhiniaeth ni bydd diwedd, Luc i. 33. a'r Oen fydd goleuni y ddinas nefol, Dat. xxi. 23. Fe fydd cymundeb y saint â Duw yno o hyd, yn, a thrwy y Cyfryngwr, mewn modd cyfatebol i'w sefyllfa o berffeithrwydd, pen. vii. 17.

A'r rhai hyn yw prif weithredoedd ei weinyddiad ef o'r cyfammod, fel yr Eiriolwr o hono.

Hyd yma am y pedwarydd pen, sef y gweinyddiad o'r cyfammod.

## PEN. V.

### Y PRAWF O FOD YN BERSONOL ACHUBOL ANWAHANOL YN Y CYFAMMOD GRAS.

YR ydym yn awr wedi agoryd athrawiaeth y cyfammod gras, mewn ymdrin â'r pleidiau ynddo, y gwneuthuriad o hono, y rhanau o hono, a'r gweinyddiad o hono: yr ydym etto i ddangos rhyw hyfforddiad defnyddiol o hono, dan y pen hwn a'r un canlynol.

Os bydd i ddyn ystyried y cyfammod gras yn ddifrifol, megis yr hwn ar ba un y mae iachawdwriaeth ein heneidiau ni yn ymddibynu, nis gall braidd fethu gosod y gofyniad hwn ato ei hun, "Pa hawl sydd genyf fi yn y cyfammod hwnw?" Nid oes un amheuaeth, nad oes i chwi hawl gyffredinol ynddo ef, trwy yr hon y mae i chwi ddigonol warant i ddyfod i mewn iddo: eithr fe ddichon hyny fod genych, ac etto drengu; o herwydd fe deflir hyd y nod *plant y deyrnas i'r tywyllwch eithaf*, Mat. viii. 12. Eithr y gofyniad yw, Pa un a oes genych hawl achubol ynddo, a'ch bod wedi dyfod yn wirioneddol iddo, ai nid ydych? Y mae y cyfammod yn ddiau wedi ei ddwyn atoch chwi, yn ordinhadau yr efengyl; ond a ydych chwi wedi eich dwyn i'r cyfammod, wedi eich uno â Phen y cyfammod, sef Iesu Grist? Y mae ef wedi ei weinyddu i chwi, ond a ddarfu i chwi gymmeryd gafael arno ef trwy ffydd? Yr ydych wedi derbyn yr arwystl o fedydd, sel y cyfammod, yn hawl eich rhieni; eithr a ddarfu i chwi yn bersonol gofleidio'r cyfammod mewn modd diragrith? Y mae y ddau gyfammod, sef, y cyfammod gweithredoedd, a'r cyfammod gras,

yn rhanu yr holl fyd rhyngddynt: y mae pob dyn dan y naill neu'r llall; nis gall neb fod dan y ddau ar yr un amser, o ran ei gyflwr, gerbron Duw, Rhuf. vi. 14. Y mae plaid liosog yn aros dan y cyfammod cyntaf, yn yr Adda cyntaf, pen y cyfammod tòredig hwnw, yn cyrchu pechod, marwolaeth, a'r felldith o hono ef: y mae plaid yn sefyll dan yr ail gyfammod, yn yr ail Adda, pen y cyfammod hwnw a gyflawnwyd, yn cyrchu bywyd a iachawdwriaeth o hono ef. Fe fydd y pleidiau hyn yn cael eu barnu, bob un o honynt, yn ol y cyfammod y maent dano, fe gaiff y rhai blaenaf eu heuog-farnu trwy effaith melldith y cyfammod y maent dano; fe gaiff y rhai olaf eu tragywyddol achub, trwy rinwedd yr addewid o fywyd yn y cyfammod, yr hwn y maent ynddo. Ar yr un pryd, y mae dyfodfa i'r rhai sydd yn perthyn i'r cyfammod cyntaf, i adael eu plaid a'u cyfammod; ac i ymuno â'r blaid sydd yn yr ail gyfammod: eithr fe wna angeu gauad i fynu y ddyfodfa hòno. O herwydd paham, y mae yn elw i'r naill, yn gystal a'r llall, i wybod i ba blaid a chyfammod y maent yn perthyn. Er prawf o hyn, yr ydwyf yn cynnyg y nodau canlynol, arwyddion neu gymmeriad y rhai hyny sydd yn gadwedigol ac yn bersonol o fewn y cyfammod gras.

1. Y maent y cyfryw ac y sydd wedi ffoi am noddfa oddiwrth y cyfammod gweithredoedd; ac wedi dyfod i gyfammod yr ail Adda, fel ymnoddwyr oddiwrth gyfammod yr Adda cyntaf. O herwydd, hyny yw cymmeriad neu nôd *etifeddion yr addewid*, Heb. vi. 17, 18. Er bod amser wedi bod, pan yr oeddent hwy yn byw yn esmwyth o fewn tiriogaeth cyfammod y ddeddf, etto fe osododd Duw dân yn eu nŷth hwynt yno, fel y darfu iddynt deimlo eu hunain yn analluog i fyw yn hwy o fewn terfynau y cyfammod hwnw. Fe fu mynydd Sinai yn mygu oll i gyd oddiamgylch

iddynt: ac fe ddarfu i udgorn melldith y gyfraith gryfhau fwy fwy, hyd oni ddarfu iddo beri iddynt ei glywed ef uwch ben eu cyfiawnder a'u gweithredoedd goreu, lle yr oeddent hwy fwyaf byddar; ac efe a barodd iddynt ofni a chrynu yn ddirfawr, gan fod y felldith yn cael ei harddatgan yn eu herbyn hwynt yn bennodol, Rhuf. vii. 9. "Pan ddaeth y gorchymyn, yr adfywiodd pechod, a minnau a fum farw." Fe ddarfu iddo eu hela hwynt allan o'u holl lochesau oddiamgylch y mynydd hwnw, ac ni adawodd iddynt un lle o fewn cyffiniau y cyfammod hwnw, ag oedd yn ddiogel iddynt: fe ddarfu iddo, nid yn unig eu hymlid allan o'u gyrfa halogedig; eithr hefyd allan o'u hymddiried yn eu gweithredoedd da a'u dyledswyddau, o ba natur bynag y byddent; a ffoi am eu bywyd i'r cyfammod o rydd ras, fel y llofrudd i'r ddinas noddfa; "Y pethau oedd elw i mi, y rhai hyny a gyfrifais i yn golled er mwyn Crist," Phil. iii. 7.

2. Y maent y cyfryw ag y sydd yn cymmeradwyo o'r galon, ac yn ymfoddloni i drefn y cyfammod, megis un wedi ei addasu i ogoniant Duw, ac i'w cyflwr hwythau yn neillduol; gan edrych arno yn un "wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr," 2 Sam. xxiii. 5. Pwy bynag a wnelo ystyried mewn modd dyladwy, y llygredigaeth a ddaeth i galon dyn trwy'r cwymp, a deall yn amlwg, fod trefn yr iachawdwriaeth, sydd wedi ei gosod ar lawr yn y cyfammod gras, yn gwbl wrthwyneb i duedd natur ddynol lygredig; felly, fel nad oes dim llai na nerthol effaith Dwyfol ras a all ddwyn yr enaid i roddi cymmeradwyaeth diffuant iddi hi, ac ymfoddloniad ynddi: o herwydd paham, y mae ein Harglwydd yn cyhoeddi y rhai *ni rwystrir ynddo ef yn ddedwydd,* Mat. xi. 6. Fe all dynion anianol yn ddiau ffurfio'r cyfammod, yn eu hamgyffred eu hunain, i'r fath ddull, fel y byddo

ganddynt gryn hoffder ynddo. Hwy a allant ei amgyffred ef, megis cyfammod wedi ei fwriadu i wneuthur dynion yn esmwyth ac yn ddedwydd; tra y mae ef ar yr un pryd, yn ol eu barn hwynt, yn caniatáu iddynt, o'r hyn lleiaf mewn rhai achlysuron, i fod yn ansantaidd: megis cyfammod, yn yr hwn, trwy gyfrwng Crist, y gallant gael derbyniad gydâ Duw trwy eu gweithredoedd da, er maint eu gweithredoedd drwg. Eithr yn hyn oll, y maent mewn cariad a chreadur o'u dychymyg eu hunain, ac nid a chyfammod gras Duw. Bydded i'r cyfammod gael ei osod ger eu bron hwynt yn ngoleuni yr Ysgrythyr lân, a'i olygu ganddynt hwy, yn y goleu hwnw, hwy a fyddant yn sicr o'i ffieiddio ef, a phigo tyllau ynddo. Bydded i fwriad y cyfammod gael ei ddatguddio yn deg, megis yn dyrchafu rhydd ras Duw uwch ben y dinystr ar bob ardderchawgrwydd mewn dyn; i wneuthur Crist yn bob peth, a dyn yn ddim, yn ei iachawdwriaeth ei hun; nis gall y galon falch gytuno a hyny, nis gall "ymostwng i gyfiawnder Duw," Rhuf. x. 3. Bydded i'w effeithiau ef, mewn gyru pechod allan, ac ysgar rhwng yr enaid a'i chwantau anwylaf, ymddangos un waith yn amlwg, fe wna y dynion anianol ffoi oddiwrtho, megis pe byddai un yn gwaeddi arnynt, *Y mae angeu yn y crochan.* Bydded iddynt yn ddifrifol feddwl, pa fodd y mae ef wedi ei addasu er gogoniant Duw, â'r perffeithiau Dwyfol; a pha fodd y mae ef wedi ei addasu er eu gwirioneddol ddiogelwch hwynt gerbron Duw, ac nis gallant weled pa fodd y mae efe felly. I'r doethineb Iuddewig y mae efe yn faen tramgwydd, yn ddyfais anghydsyniol a'r perffeithiau Dwyfol: y mae y ddysgeidiaeth Roegaidd yn ei gyhoeddi ef yn ffolineb, yn drefn o iachawdwriaeth ansicr i ymddiried iddi; llygaid ffydd yn unig sydd yn ei ganfod ef, "yn allu Duw,

a doethineb Duw," yn ddiogel i'r creadur euog, ac yn anrhydeddus i'r Duw santaidd, 1 Cor. i. 23. 24.

3. Ar waith y cyfammod yn cael ei amlygu iddynt, megis wedi ei wneuthur er tragywyddoldeb, rhwng Duw â'r ail Adda, ac yn cael ei gynnyg iddynt hwy yn yr efengyl, y maent yn foddlon i gynllun y nef ynddo, yn eu gwaith yn ymgyfammodi, mor bell ag y maent hwy yn ei ddeall ef: ac nid ânt oddiamgylch i ychwanegu ato, na thynu oddiwrtho; ond sefyll wrth ammodau Duw a Christ yn y gwneuthuriad o hono, Act. 9. 6. "Arglwydd, beth a fyni di i mi ei wneuthur?" Hwy a osodant law-nod, *(note)* heb ei ysgrifenu yn llaw Duw, yn arwydd eu bod yn foddlon i'r oll sydd o fewn cylch y cyfammod, heb osod i mewn un gwrthddadl, na dymuno i un gwelliad a chyfnewidiad gael ei wneuthur er eu mwyn hwynt. Y maent yn foddlon i gyfreithiau y cyfammod, yn gystal a'i ragorfreintiau ef; yn foddlon i ddysgyblaeth y cyfammod, yn gystal a'i wobrwyon ef; yn foddlon i ammod y cyfammod, megis y mae hi wedi ei chyflawnu gan Grist yn unig, yn gystal a'i addewidion ef, sydd i gael eu cyflawnu iddynt hwy; ac yn foddlon i'r addewid o santeiddiad, yn gystal a'r addewid o gyfiawnhad, a gogoneddiad. Oddiyma y mae y cyfammod, megis peth yn cael ei ddatguddio yn yr efengyl, yn cael ei alw gan yr Ysbryd Glân yn *glywed*, Esa. liii. 1. ymyl y ddalen. Hyny yw, peth i'w glywed a'i dderbyn trwy ffydd, megis y mae lleferydd i'w glywed a'i dderbyn trwy'r clust, yn ol hyny, Esa. lv. 3. "Gwrandewch, a bydd byw eich enaid." Y mae ef yn duedd naturiol mewn dynion, i lafaru yn hytrach na gwrando; o herwydd yr ydym yn barotach i fynegu ein hewyllys ein hunain trwy lafaru, nac i dderbyn ewyllys un arall trwy wrando. O herwydd paham, a'r efengyl yn adroddiad o ewyllys

Duw er ein iachawdwriaeth ni, yn unig i gael ei chlywed a'i derbyn trwy ffydd, ac am hyny yn cael ei galw yn *wrandawiad ffydd*, Gal. iii. 2. y mae angen am allu gras i ddarostwng y galon i'r gwrandawiad o honi, ac i attal y genau rhag gwneuthur cynnygion o'n heiddo ein hunain.

4. Y mae cariad Duw yn Nghrist yn greddfol feistroli ynddynt hwy, Diar. viii. 17. "Y sawl a'm carant i, a garaf finnau." Mawr oedd y cariad atynt hwy, a ymddangosodd yn y cyfammod. Fe ddarfu i'r pleidiau ymgyfammodol drostynt hwy, weithredu yn hyny, oddiar egwyddor o rydd gariad, etto y cariad mwyaf. Oddiyno y tarddodd yr ysgogiad cyntaf am y cyfammod o fywyd a iachawdwriaeth iddynt hwy: oddiyno yr oedd i'r Tad foddloni rhoddi ei fab drostynt hwy; a'r Mab i fod yn llwyr foddlon i ddyfod yn ddyn, a dyoddef marwolaeth drostynt hwy; a'r Ysbryd Glân eu cymmeryd hwynt yn breswylfod iddo ei hun, i'w bywhau, a'u santeiddio, a'u perffeithio hwynt. Fe ddarfu i gariad Duw ddwyn gerbron y cynnygiad o'r addewidion mawr iawn a gwerthfawr er cymmwynas iddynt, ar ammodau cytunol a'i gyfiawnder: fe ddarfu i Grist, yr ail Adda, o gariad atynt, dderbyn yr ammodau hyny. A phan y darfu i'r orchwyliaeth dragywyddol, trwy arddangosiad yr Ysbryd, yn yr efengyl, gael ei hagor, a'i dwyn adref at eu heneidiau hwynt; fe ddarfu i'r cariad hwn lewyrchu yn eu golwg hwynt, felly, fel y darfu iddynt ei gredu ef. Ac fe ddarfu i'r grediniaeth hono o gariad Duw yn Nghrist, ennyn yn eu heneidiau hwynt y cariad uchaf ato yntau drachefn, 1 Ioan iv. 19. "Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni." Am hyny, er nad yw eu cariad yr un mor rymus bob amser, eithr yn lleihau ac yn mwyhau, yn ol cynnydd ac adfeiliad eu ffydd hwynt; etto, gan na all eu ffydd *ddiffygio*, Luc xxii. 32. nid yw eu cariad yn methu

yn hollol, o'r mynyd yr enynir ef yn eu calonau hwynt, hyd byth. Y mae ef yn egwyddor weithgar ynddynt hwy, yn eu cymhell i ufudd-dod, 2 Cor. v. 14. Yn rhoddi y lle blaenaf yn eu calon a'u serchiadau i Dduw yn Nghrist; y mae eu henaid yn dywedyd, "Pwy sydd genyf fi yn y nefoedd ond tydi? ac ni ewyllysiwn ar y ddaear neb gydâ thydi," Psal. lxxiii. 25. Y mae yn peri mai eu gofal mwyaf yw ei foddloni ef, a bod "yn gymmeradwy ganddo ef," 2 Cor. v. 9. a'u hofn mwyaf ei gyffroi, neu ei anfoddloni ef, Can. iii. 5. Y mae yn gwneuthur dyledswydd yn hyfryd iddynt, fel peth o ddewisiad, 1 Ioan v. 3. "Canys hyn yw cariad Duw; bod i ni gadw ei orchymynion: a'i orchymynion ef nid ydynt drymion." Ac y mae yn peri i'r gweddillion o bechod fod, yn "gorff y farwolaeth hon," yn llwyth trwm, yr hwn y maent yn hiraethu am gael eu gwared oddiwrtho, Rhuf. vii. 24.

5. Y mae Iesu Grist, pen y cyfammod, yn ben iddynt hwy, yn ol eu cydsyniad hwynt. Y maent wedi ei gymmeryd ef yn ben mewn boddlonrwydd calon, i holl ddybenion y cyfammod. Ac y maent yn sefyll at hyny yn ddigyfnewid, pe byddai y dewisiad i gael ei wneuthur fil o weithiau. Y mae y rhai hyny y darfu i'r Tad er tragywyddoldeb ddewis Crist yn ben iddynt, yn nydd eu dychweliad, trwy ffydd, yn cymmeradwyo'r dewisiad, ac yn gwneuthur yr un dewisiad drachefn yn bersonol iddynt eu hunain; oddiwrth yr hyn y dywedir eu bod yn *gosod iddynt un pen*, Hos. i. 11. Mor aml ag y maent yn adnewyddu gweithred y ffydd trwy yr hon y mae yn rhaid iddynt fyw, y maent yn adnewyddu eu dewisiad. Trwy fod yn ddealladwy o'r hyn a ddarfu iddynt ddyoddef, trwy anffyddlondeb Adda, eu pen cyntaf, y mae Crist yn werthfawr ganddynt, fel yr ail Adda. Y maent yn dyfod i'r cyfammod, ac yn aros ynddo dan ei

adenydd ef yn unig; heb ddysgwyl un gymmwynas trwyddo, nac o hono, ond trwy Grist yn unig. Y maent yn ei gymmeryd ef yn ben i'w llywodraethu, yn gystal ag yn ben i'w meithrin a'u cynnal. Y maent wedi rhoddi eu hunain i fynu iddo ef, i'w rheoli ganddo, yn gystal a'u hachub trwyddo; i gael eu llywodraethu gan ei gyfreithiau ef, ac nid gan eu chwantau eu hunain; yn gystal a chael eu hachub trwy ei ras ef, ac nid trwy eu gweithredoedd eu hunain.

6. Ammod y cyfammod, wedi ei chyflawnu gan Iesu Grist, yw eu unig sail a'u hyder gerbron Duw, am eu derbyniad gydâg ef, neu y mwynhad o un gymmwynas o eiddo'r cyfammod y maent yn dysgwyl cyfranogi o honi. Yr Iachawdwr croeshoeliedig yw y sylfaen a osodwyd yn Sion, i bechaduriaid i adeiladu arni: a chredu ynddo yw i'r enaid adeiladu arno, 1 Ped. ii. 6. Os adeilada dynion ar un sylfaen arall, hwy a adeiladant ar dywod, ac fe ddisylfaenir eu hyder: er iddynt gael eu gyru ymaith oddiwrth bob sylfaeni ereill, etto, os na adeiladant ar hon, y mae yn rhaid iddynt drengu, fel yr ûs yr hwn a ddyg y gwynt ymaith. Nis gall credu, neu adeiladu ar gyfiawnder Crist, gynnwys dim llai nag i ddyn ymddiried ynddo ef am ei iachawdwriaeth. Pa un bynag a'i cryf a'i gwan a fyddo yr ymddiried hwn, y mae yn rhaid iddo fod; onidê nid oes un ffydd, nid oes un adeiladu ar Grist; eithr y mae yr enaid yn cael ei gadw mewn sefyllfa anwadal, yn wrthwyneb i'r attegiad arno trwy ffydd yn Nghrist, Iago i. 6. Y mae yr hwn sydd o fewn y cyfammod, yn cymmeryd cyfiawnder Crist megis ei unig sylfaen o hyder gerbron Duw: o herwydd nid yw y cyfammod yn dangos un, nac yn caniatâu un arall, "dim ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio," 1 Cor. ii. 2. Y mae ganddo rhyw fesur o hyder am fywyd a iachawdwriaeth ar y sail

hòno; trwy yr hyn y mae efe yn cael ei wahaniaethu oddiwrth y diobaith, diffydd, anghrediniol: ac y mae yr hyn sydd ganddo o hyder am fywyd a iachawdwriaeth, ar y sail hòno yn unig; trwy yr hyn y mae efe yn cael ei wahaniaethu oddiwrth y rhai ffurfiol, rhagrithiol, rhyfygus. Ac y mae y ddau nod hyn yn gyssylltiedig yn nghymmeriad y credadyn: y mae efe "yn gorfoleddu yn Nghrist Iesu, ac nid yn ymddiried yn y cnawd," Phil. iii. 3.

7. Y mae addewidion y cyfammod yn rhan foddhaol gan eu calon hwynt. Y maent yn deall yn wir, fod eu hangenion yn aml; eithr y maent yn gweled cymmaint yn y cyfammod ag a'u diwalla hwynt oll, fel nad oes arnynt eisieu myned at un drws arall i ymofyn am gymmorth: y maent wedi eu dwyn i gredu fod cymmaint o ddwfr yn y ffynnon hòno, ag a ddiwallai eu holl syched hwynt, pe y medrent hwy ei dynu ef. Yn y modd hyn, y cyfammod yw eu "holl iachawdwriaeth, a'u holl ddymuniad hwynt," 2 Sam. xxiii. 5. Nid yw yr amlygiad hwn o'r cyfammod yn beth oddiwrth natur, eithr oddiwrth y gras hwnw sydd yn dangos cymmaint gwerth yn yr un perl, ag y sydd yn gwneuthur y dyn yn foddlon i werthu yr oll a fedd i'w brynu ef, Mat. xiii. 45, 46. Eithr ni ddaw un dyn i'r cyfammod hyd oni byddo iddo unwaith ei ddeall ef; o herwydd pwy a gyssyllta ei hun ag un arall mewn cyfammod priodasol, neu ammod gwasanaeth, yr hwn nis gall efe weled pa fodd i fyw gydâg ef? Y mae ffydd yn canfod yn y cyfammod, nid yn unig noddfa, eithr cynnysgaeth hefyd, Psal. cxlii. 5. onidê ni ddelai y dyn byth iddo ef. Ac ni bydd i neb a gafodd y datguddiad hwn unwaith, aros allan o'r cyfammod, Psal. ix. 10. "A'r rhai a adwaenant dy enw, a ymddiriedant ynot." Edrych Ioan iv. 10. Os bydd i werth *y trysor sydd wedi ei guddio yn maes* yr efengyl

gael ei ganfod, fe â pawb i'w gael ef, Mat. xiii. 44. fe gyfrifir pob peth yn dom ac yn golled er mwyn ei ardderchawgrwydd ef, Phil. iii. 8. Yn ddiau, nid yw dynion y byd yn gweled hyn yn y cyfammod: nid yw ef ond peth gwag newynllyd y'ngolwg eu llygaid tywyll hwynt. Y mae y cyfammod, yn yr efengyl, yn cael ei ddal allan iddynt hwy, yn ei hyd a'i led: eithr nid yw ef yn cymmeryd lle gydâ hwynt; y mae ef y'mhell o fod eu holl ddymuniad hwynt: ar ol y cwbl, megis pe byddent heb weled dim a allai eu boddloni hwynt, y maent yn gwaeddi, "Pwy a ddengys i ni ddaioni?" Psal. iv. 6. Y gwirionedd yw, nas gall calon dyn byth weled digon yn y cyfammod i beri iddo orphwys yn foddhaol gydâg ef, hyd oni byddo i ras roddi gosodiad newydd iddi, a chwtogi ei dymuniadau diddiwedd hi: o herwydd, y peth y mae y galon anadnewyddol fwyaf am dano, nid oes un darpar yn y cyfammod ar ei gyfer ef, eithr yn ei erbyn.

8. Y mae Ysbryd y cyfammod ynddynt hwy; ac y mae hwnw yn Ysbryd arall, gwahanol oddiwrth yr ysbryd sydd yn gweithio yn nynion y byd, Num. xiv. 24. Ezec. xxxvi. 27. "Rhoddaf hefyd fy Ysbryd o'ch mewn." Ysbryd Crist yw Ysbryd y cyfammod, wedi ei bwrcasu â gwaed y cyfammod, a'i lettya yn y cyflawnder o hono yn Nghrist, pen y cyfammod, ac yn cael ei gyfrann mewn rhyw fesur i holl bobl y cyfammod. Ac fe all yr Ysbryd hwn gael ei adnabod wrth y tri nod hyn o'i eiddo ef.

(1.) Y mae Ysbryd y cyfammod yn Ysbryd santeiddrwydd. Dyben mawr y cyfammod, yn nesaf i ogoniant Duw, oedd santeiddiad pechaduriaid, Luc i. 74, 75. Y mae holl linellau y cyfammod, o'r cyntaf o honynt hyd y diweddaf, yn cyfarfod yn hyny fel eu canol-bwynt. Y mae dangosiad o gyfiawnder perffaith, yn ammod y cyfammod; a

dangosiad o drugaredd a gras cyfoethog, yn addewidion y cyfammod; a dangosiad o'r gallu a'r ffyddlondeb mwyaf, yn y gweinyddiad o hono: eithr y mae santeiddrwydd yn myned trwy yr oll, a phob rhan leiaf o hono. O herwydd paham, y mae yn cael ei alw "y cyfammod santaidd," Dan. xi. 30. Pwy gan hyny a all yn rhesymol ddychymygu, fod y rhai ansantaidd o fewn y cyfammod hwn? y gall gweision pechod, (pa un bynag ai aflan ai ffurfiol fyddont, y rhai sydd ddyeithriaid i rym duwioldeb, y rhai nis gwna un rhwymau santaidd eu dal,) fod o fewn rhwymau y cyfammod santaidd? Na, yn sicr nid ydynt: nid yw Ysbryd y cyfammod ganddynt. Y mae Ysbryd y cyfammod yn gwneuthur y rhai cyfammodol yn egwyddorol santaidd; ac i *gyrchu at y nod*, i ymdrechu, hiraethu, gruddfan, a dyheuo am berffeithrwydd sateiddrwydd, Phil. iii. 14. Y mae ef yn peri i wythien o santeiddrwydd i redeg trwy eu holl ddyn hwynt, eu holl fywyd, eu meddyliau, eu geiriau, eu gweithredoedd, eu hymddygiad at Dduw, a'u masnach â dynion. Fe ffurfiwyd y cyfammod i'r dyben o ddinystrio gweithredoedd y diafol: yr oedd ef yn gyngrair wedi cyduno arno, rhwng y Tad a'r Mab, i ddiwreiddio pechod o galonau a bywydau plant Adda; i adferyd y ddelw Ddwyfol ynddynt hwy; a'u dwyn hwynt drachefn i berffaith gydffurfiad a chyfraith foesol y deg gorchymyn, oddiwrth yr hon yr oeddent wedi syrthio yn Adda. I'r dyben hyn y cyflawnwyd ei ammod, y gwnaethwyd ei addewidion ef, ac y traddodwyd y gweinyddiad o hono i'r Iesu santaidd, 1 Ioan iii. 8. "I hyn yr ymddangosodd Mab Duw, fel y datodai weithredoedd diafol." O herwydd paham, pwy bynag sydd yn gyfranog o Ysbryd y cyfammod, y mae efe yn cyfranogi o Ysbryd santeiddrwydd, Gal. v. 16. 18. "Os gan yr Ysbryd i'ch arweinir, nid ydych dan y ddeddf. Rhodiwch yn yr Ys-

hryd, ac ni chyflawnwch drachwant y cnawd."

(2.) Y mae Ysbryd y cyfammod yn Ysbryd rhydd a didwyll, Psal. li. 12. Ysbryd meibion ydyw, ac nid ysbryd caethion; ysbryd dynion rhyddion ydyw, ac nid dynion caethion, Rhuf. viii. 15. Y mae peth ufudd-dod yn cael ei roddi i'r gyfraith santaidd gan angrhedinwyr, dynion y cyfammod cyntaf, yn gystal a'r credinwyr, dynion yr ail gyfammod: ac nis gall llygaid y byd ganfod un gwahaniaeth rhwng ufudd-dod rhai o'r fath flaenaf, ac ufudd-dod y rhai o'r fath olaf; pa fodd bynag, y mae gwahaniaeth dirfawr, yr hwn sydd yn cael ei ganfod gan y llygad hollweledig. A ydyw y bobl sydd yn meddu yr Ysbryd hwn o nifer y personau sydd yn gweddio yn ol y cyfammod? felly y mae llawer nad yw yn meddu na rhan na chyfran achubol ynddo, Esa. lviii. 2. A ydynt hwy yn ddynion cymhedrol a sobr, cyfiawn ac onest, hynaws a ffyddlon, yn ddynion a'u bywyd yn ddiargyhoedd? felly y mae amryw ereill heblaw hwynt, o ran pob peth a all un dyn ei weled, Phil. iii. 6. Hyd yma y maent yn cytuno. Eithr y mae gwahaniaeth dirfawr yn yr ysbrydoedd y maent yn gweithredu trwyddynt, yr hyn sydd yn gwneuthur gwahaniaeth mawr yn y natur a'r modd o'u gwasanaeth. Y mae angredinwyr yn gweithio oddiar ysbryd caethiwed, yn gyfatebol i'w sefyllfa gaeth dan y cyfammod gweithredoedd, Gal. iv. 24, 25. Ofn caeth a gobaith gwasaidd yw y pwysau sydd wedi eu crogi wrthynt gan y cyfammod hwnw, yn peri iddynt ymsymud: y mae pechod yn cael ei ochelyd, a dyledswydd ei chyflawni, nid o gariad at Dduw a santeiddrwydd, eithr o gariad atynt eu hunain. Y mae credinwyr yn gweithredu trwy Ysbryd mabwysiad, yn gyfaddas i'w sefyllfa o fabwysiad, dan y cyfammod gras, Gal. iv. 26. Duw yw eu tad hwynt; ac y maent yn ei wasan-

aethu ef fel meibion, ac nid fel caethion, Mal. iii. 17. Crist yw eu brawd henaf hwynt, yr hwn a'u carodd, ac a'i rhoddes ei hun drostynt; ac y mae ei gariad ef yn eu cymhell hwynt, 2 Cor. v. 14. Y mae yr Ysbryd Glân yn preswylio ynddynt, wedi eu bywhau hwynt, a'u hadnewyddu; a'u gwneuthur yn gyfranogion o'r dduwiol anian, 2 Pet. i. 4. Felly, y mae pechod yn cael ei ochelyd, fel peth gwrthwyneb i'w hanian newydd hwynt; a dyledswydd ei dilyn fel peth boddhaol ganddi. Fe ddarfu i'w crediniaeth o gariad Duw yn Ngrist, genedlu ynddynt gariad at Dduw drachefn, er egwyddor newydd o ufudd-dod, 1 Tim i. 5. Y maent trwy ffydd yn ymddiried yn Nghrist, ac iddo ef yn unig, am fywyd a iachawdwriaeth: ac y mae hyn ar un waith yn disylfaenu ynddynt yr ofn caeth o uffern, a'r chwant gwasaidd o'r nef; felly, fel y mae y rhai hyn mor bell o fod yn egwyddor o'u hufudd-dod, fel nas *gallant* fod yn egwyddor feistrolaidd ynddynt; na, nis gallant fod o gwbl iddynt, ond megis gelynion i'w ffydd a'u cariad hwynt, 2 Tim. i. 7. 1 Ioan iv. 18. Etto, dylid cofio hefyd, mai nid peth gwasaidd yw i saint ofni anfoddlonrwydd tadol Duw, a thrwy hyny gael eu cyffroi at eu dyledswydd, Psal. cxix. 120. Heb. xi. 7. Nac i ddal yn y blaen yn ffordd dyledswydd, mewn gobaith o fwynhau Duw, a chael arwyddion o'i heddwch, yn y ffordd hòno, Ioan xiv. 21. ac yn y diwedd berffaith ddedwyddwch yn y nef; a'r oll i gyd trwy Iesu Grist yn unig, 1 Cor. xv. 58. Y mae ein hangen o'r pethau hyn er annogaeth i ni at ein dyledswydd, yn ddiau yn profi ein sefyllfa blentynaidd, (o herwydd ni bydd angen am yr ofn na'r gobaith hyn yn y nef) eithr nid sefyllfa wasaidd mewn un modd. Nid yw ychwaith, mewn un modd yn wasaidd, i fod y galon wedi ei llanw a pharchus ofn ac arswyd Duw, oddiar yr ystyr-

iaeth o'i gyfiawnder ofnadwy a'i ddigofaint ef yn uffern, yn erbyn y gwrthddrychau truenus o hono; a chael ein cyffroi at ein dyledswydd trwy hyny, Mat. x. 28. Heb. xii. 28, 29. Y mae edrych tuag yno, a symud tuag at Dduw mewn ffordd dyledswydd, gydâg ofn a dychryn, yn hollol gyttunol a sefyllfa y rhai hyny sydd, trwy ffydd, *wedi derbyn teyrnas ddisigl,* eithr sydd hyd yn hyn heb esgyn i'r nef: y rhai yn wir sydd wedi eu tynu o'r dyfnder ofnadwy, eithr sydd hyd yn hyn heb eu codi i ben y graig, er bod cadwyni cryfion y cyfammod felly am danynt, fel na chânt byth syrthio yn ol mwy. O herwydd fe fydd yr ofn a'r parch i Dduw, ar y cyfrif hyny, yn berffaith yn y nef, Esa. vi. 1—3. Eithr y mae yn gaethedd i saint ofni cael eu bwrw i uffern am bechod; ac yn wasaidd, i obeithio am eu derbyniad i'r nef am eu gweithredoedd da. Etto fe ddichon i'r ofn caeth a'r gobaith gwasaidd ymlusgo i mewn i blant yr ail gyfammod, a'u cyffroi at ddyledswydd: o herwydd bod eu ffydd hwynt yn wan, y mae llawer o'r hen Adda yn aros ynddynt; ac nid yw yn hawdd iddynt, er eu bod yn farw i'r ddeddf mewn pwnc o ragor-fraint, i fod yn farw iddi mewn pwnc o ymarferiad. Eithr fe gaiff y cymmysg anmhur hwn o hunan yn eu dyledswyddau, ei ddarostwng ynddynt hwy; a hwy a ffieiddiant eu hunain, am nad ydynt yn ymddwyn yn eu hufudd-dod, gydâ mwy o ysbryd rhydd, a thymer fabaidd. Ac y mae eu hewyllys yn yr achos hwnw yn cael ei dderbyn, trwy Grist.

(3.) Y mae Ysbryd y cyfammod yn Ysbryd o gydymdeimlad, yn cael ei reoleiddio yn ol y cyfammod. Y mae cyffredinoldeb elw, ac oddiyno gydymdeimlad o bob ochr, rhwng cyngreirwyr. Ac y mae y cydymdeimlad hwn rhwng cyngreirwyr y nef, mewn golygiad ar ben a phobl y cyfammod.

[1.] Y mae ganddynt hwy gydymdeimlad naturiol a charuaidd, â Duw a phen y cyfammod. Y mae yn wir, nas gall ei ogoniant hanfodol ef fod yn ddarostyngedig i leihad; na'i dragywyddol orphwysfa ef ynddo ei hun, yn y mesur lleiaf, gael ei chyffroi; ac y mae y dyn Crist yn awr, y tu hwnt i gyrhaedd dyoddefiadau. Er hyny, y mae i'w ogoniant mynegol ef yn y byd, ei amser o lewyrchu yn amlwg, a'i amser o fod dan gwmwl. Yn awr, megis y mae ganddo ef gydymdeimlad â hwynt, yn eu holl achos, yn eu cyfyngderau ac yn eu hëangderau, yn eu llawenydd ac yn eu tristwch, Esa. lxiii. 9. Luc xv. 5. yr hyn sydd gydymdeimlad tyner iawn, fel y mae y cyffyrddiad â hwynt "yn cyffwrdd â chanwyll ei lygad ef," Zec. ii. 8. felly y mae ganddynt hwythau hefyd gydymdeimlad tyner iawn âg yntau, yn achos ei ogoniant. Y maent yn siriol, ac yn llawenychu yn llwyddiant ei deyrnas ef, Act. xi. 23, 24. Y maent yn gweddio am ei llwyddiant hi yn wastadol, Psal. lxxii. 15. ac yn cynnorthwyo yn ol eu gallu, yn eu sefyllfaoedd, i'w dyrchafu hi, Phil. i. 21. "Byw i mi yw Crist." Y mae ganddynt deimlad o'r anmharch â roddir i'w Fawrhydi, megis pe bai ef yn cael ei roddi iddynt hwy eu hunain. Psal. lxix. 9. "Gwaradwyddiad y rhai a'th waradwyddent di, a syrthiodd arnaf fi." Y maent yn alarwyr am bechodau rhai ereill, yn gystal a'u pechodau eu hunain, ar gyfrif y dianrhydedd y maent yn ei wneuthur i Dduw, *am na chadwasant ei gyfraith ef*. Psal. cxix. 136. Ni bydd plant y cyfammod yn wrthwynebwyr i deyrnas Crist, nac yn anmhleidwyr iddi; eithr hwy a ddodant eu hysgwyddau at waith yr Arglwydd, i'w gynnorthwyo ef y'mlaen, yn ol eu galwad: ac heb y fath ysbryd cyhoedd, mewn mesur mwy neu lai, ni bydd gan un dyn fodd i brofi ei hawl achubol yn y cyfammod; o herwydd

felly y darfu i'n Harglwydd ei hun benderfynu y mater, Mat. xii. 30. "Y neb nid yw gydâ mi, sydd yn fy erbyn; a'r neb nid yw yn casglu gydâ mi, sydd yn gwasgaru."

[2.] Y mae ganddynt gydymdeimlad naturiol a charuaidd â phobl y cyfammod: *oblegid aelodau ydynt i'w gilydd*, Eph. iv. 25. Y mae gras y cyfammod yn trefnu dynion i fod yn garuaidd ac yn gymmwynasgar i ddynolryw, eithr mewn modd neillduol felly i ddynion santaidd; i wneuthur "da i bawb, ond yn enwedig i'r rhai sydd o deulu y ffydd," Gal. vi. 10. Y mae rhwymyn cyffredinol y cyfammod yn eu rhwymo hwynt mewn cariad neillduol, y naill at y llall: gan mai yn y rhwymyn hwnw y maent yn wrthddrych casineb cyffredinol y byd. Y maent yn dwyn yr un ddelw â Christ, eu pen cyffredinol: ac fe wna y ddelw hòno gymmeradwyo pawb sydd yn ei dwyn hi, i un a fyddo o fewn y cyfammod ei hun, mor bell ag y gallo efe ei dirnad hi. O herwydd paham, y mae eu cariad yn gariad at yr holl saint, Eph. i. 15. Ac oddiyno y mae y cydymdeimlad sydd gan bob gwir gristion âg eglwys Dduw trwy yr holl fyd, yn cyfodi, ac â'r amryw aelodau o honi y mae efe yn eu hadnabod: y mae eu hawl gyssylltiedig yn y cyfammod, yn hòni hyn; o herwydd, y mae, trwy y cyfammod, berthynas agos rhyngddynt hwy; ac oddiwrth eu hundeb dan yr un pen, y mae eu cymmundeb hwynt yn deillio, 1 Cor. xii. 12, 26. Am hyny, y mae yr ysbryd hunanol, trwy yr hwn y mae gofal dynion yn cael ei gymmeryd i fynu i gyd yn eu pethau eu hunain, heb adael iddynt un cydymdeimlad âg eglwys a phobl Dduw, yn arwydd gwael o gyflwr digras. Pa faint mwy ysbryd o elyniaeth lywodraethol yn erbyn crefydd, a'r proffeswyr o honi; lle mae crefydd, a'r hyn a berthyn iddi, yn gwneuthur dynion yn wrthddrychau neillduol o'u gelyniaeth, digasedd, a'u hanfoddlonrwydd hwynt! Nid *yw* gyrfa

ymarferol o hyn o *nifer* brychau pobl Dduw; eithr y mae yn ardystio y dynion hyny yn eiddo'r byd, Ioan xv. 19. "Mi a'ch dewisais chwi allan o'r byd, am hyny y mae y byd yn eich casbau chwi." Fe wna Ysbryd y cyfammod ddwyn dynion yn hollol mewn ffordd arall: gan eu bod, trwy gymmeryd gafael yn y cyfammod, wedi myned i'r un llong a'r rhai hyny y mae Crist yn ben iddynt, y rhai sydd wedi cyhoeddi rhyfel yn erbyn teyrnas y diafol. Hwy a ddywedant wrthynt hwy, "Awn gydâ chwi: canys clywsom fod Duw gydâ chwi." Zec. viii. 23.

9. Yn y lle diweddaf, Y mae cyfreithiau'r cyfammod yn eu calonau hwynt, sef cyfraith y deg gorchymyn, tragywyddol reol cyfiawnder, Heb. viii.10. Y mae y gyfraith hono, yn ei holl ranau, yn ad'sgrifen o'r natur Ddwyfol, yr hon, yn yr adgenhedliad, sydd yn cael ei had'sgrifenu y'nghalon pob un sydd yn cael ei ddwyn i'r cyfammod: ac y mae yr oll o honi yn cael ei hysgrifenu yno, er nad yw pob rhan o honi yn cael ei ysgrifenu mor eglur a'i gilydd, nac un rhan yn berffaith. Megis y mae delw Duw wedi ei hadnewyddu ynom ni, felly y mae y gyfraith wedi ei hysgrifenu yn ein calonau ni: mewn santeiddhad y mae dyn newydd wedi ei greu; yr hwn sydd berffaith o ranau, er nad oes perffeithrwydd o raddau yn y rhanau hyny, Eph. iv. 24. 2 Cor. v. 17. 1 Cor. xiii. 12. Fe ellir cymmeryd hyn i fynu yn y pedwar peth hyn.

1. Y maent yn cymmeradwyo yr holl gyfraith, mor bell ag y mae hi yn adnabyddus iddynt, Psal. cxix. 128. "Uniawn y cyfrifais dy orchymynion am bob peth." Y maent yn caru Duw: ac y mae pob rhan o'r gyfraith yn llinell o'i ddelw ef; o herwydd paham, trwy garu'r gyfraith, megis peth yn darlunio delw ei santeiddrwydd ef, y maent yn rhwym o garu yr holl gyfraith, gan nad

oes dim ynddi hi ond sydd yn ad'sgrifen o'r santeiddrwydd hwnw. A chan fod pen y cyfammod yn eu golwg hwynt, oll yn hawddgar, Can. v. 16. y mae yn rhaid fod cyfreithiau y cyfammod felly hefyd, gan eu bod yn debyg iddo ef. Paham nad yw anghredinwyr yn caru y gyfraith santaidd, ond o herwydd nad ydynt yn caru y Duw santaidd? Rhuf. viii. 7. Eithr, gan fod y credinwyr yn caru y Duw santaidd yn Nghrist, y mae yn rhaid iddynt garu y gyfraith santaidd hefyd, gan fod delw ei santeiddrwydd ef yn cael ei darlunio ynddi. Y mae y gyfraith santaidd yn euog-farnu llawer o bethau ynddynt hwy: ïe, pob peth o'u heiddo hwynt, mor bell ag y mae ef yn anmherffaith yn ol y ddeddf foesol: ac felly y maent hwy eu hunain, gan gydsynio a'r ddeddf mai da yw, Rhuf. vii. 16. Y mae hi yn euog-farnu pob pechod, hyd y nod y pechod y mae dyn yn ei garu fwyaf, y drwg y mae efe yn cael ei arwain iddo hawddaf: ac am yr unig achos hwnw, y mae y galon anadnewyddol yn cashau y gyfraith. Eithr y mae gras y cyfammod yn peri i'r dyn osod y cyhuddiad arno ei hun; i gymmeradwyo'r gyfraith, ac euog-farnu ei chwant ei hun sydd yn wrthwyneb iddi, Rhuf. vii. 12, 14. "Y mae y ddeddf yn sanctaidd; a'r gorchymyn yn sanctaidd, ac yn gyfiawn, ac yn dda—Eithr myfi sydd gnawdol."

2. Y mae ganddynt duedd at yr holl gyfraith, mor bell ag y maent yn ei hadnabod hi, Psal. cxix. 5. "O am gyfeirio fy ffyrdd i gadw dy ddeddfau!" Y mae ynddynt egwyddor sefydlog, yr hon sydd yn gogwyddo yr un ffordd a'r gyfraith santaidd; yn gogwyddo oddiwrth yr hyn y mae y gyfraith yn wahardd, ac at yr hyn y mae hi yn ei orchymyn. Y mae yn wir, fod ynddynt egwyddor wrthwyneb hefyd, yr hon sydd yn ymladd yn ei herbyn hi: eithr felly y maent

lwythau yn ymladd yn erbyn yr egwyddor wrthwynebol, yn anadlu, yn hiraethu, ac yn chwenychu am fuddugoliaeth arni hi, ac am gyflawn gydffurfiad â'r gyfraith santaidd, Gal. v. 17. Y mae hwn yn dro newydd ar y galon, wedi ei roddi iddi yn yr enedigaeth newydd, yn ymosod, nid mewn dymuniadau diog am gydffurfiad a'r gyfraith, eithr mewn ymdrech gwrol am dano, yn parhau hyd y diwedd. Oddiyma yn,

3. Hwy a ymdrechant yn reddfol i gydffurfio, yn eu hymarferiad, â'r holl gyfraith, mor bell ag y maent yn ei hadnabod hi, Psal. cxix. 6. "Yna ni'm gwaradwyddir, pan edrychwyf ar dy holl orchymynion." Os bydd y gyfraith wedi ei hysgrifenu yn nghalon dyn, fe'i hysgrifena yntau hi allan drachefn yn ei ymarweddiad: ac fe wna calon santaidd, yn ddiau, fywyd santaidd, Mat. vi. 22. "O bydd dy lygad yn syml, dy holl gorff fydd yn oleu." Pa le y mae effaith y cyfammod santaidd, os gall dynion fod o'i fewn ef, ac etto byw yr un fath a'r rhai sydd o'r tu allan iddo? Na, eithr i bwy bynag yr *ymddangosodd gras Duw* yn effeithiol, efe *a'u dysgodd hwynt* yn effeithiol, "i wadu annuwioldeb a chwantau bydol, a byw yn sobr ac yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awrhon," Tit. ii. 11. 12. Os na wna gras y cyfammod eich dwyn chwi i ddyledswyddau duwioldeb tuag at Dduw, nid oes genych chwi un rhan achubol ynddo ef. Os ydych wedi eich dwyn at y rhai'n, eithr er hyny heb ddyfod at ddyledswyddau cyfiawnder tuag at eich cymmydog, fel yr ydych heb ffieiddio anuniondeb, ond yn beiddio bod yn anghyfiawn mewn pethau mwy neu lai, yr ydych etto "mewn bustl chwerwedd, ac mewn rhwymedigaeth anwiredd," Act. viii. 23. Ac "oni buoch ffyddlon yn y mammon anghyfiawn, pwy a ymddiried i chwi am y gwir olud?" Luc. xvi. 11. Os ydych wedi

eich dwyn i'r ddau hyn, ac etto heb fod yn sobr, eithr wedi eich gadael yn gaeth i'ch chwantau anianol, ach gwŷniau cnawdol, nid ydych ddim yn well: o herwydd y "rhai sydd yn eiddo Crist, a groeshocliasant y cnawd, a'i wŷniau a'i chwantau," Gal. v. 24. Eithr y mae y rhai a ddarfu ffoi felly i'r cyfammod gras yn Nghrist, am fywyd a iachawdwriaeth, ac hefyd, yn ddidwyll yn ymegnio at gydffurfiad â'r holl gyfraith yn eu hymarferiad, (pa fodd bynag y maent mewn amryw bethau yn methu cyrhaedd ei nôd,) yn dangos eu bod o fewn rhwymyn y cyfammod santaidd, a hwy a ddylent gymmeryd y cysur sydd ynddo, megis Dwyfol rodd yn cael ei ganiatâu iddynt, 2 Cor. i. 12. "Canys ein gorfoledd ni yw hyn; sef tystiolaeth ein cydwybod, mai mewn symlrwydd, a phurdeb duwiol, nid mewn doethineb cnawdol, ond trwy ras Duw, yr ymddygasom yn y byd."

*Yn ddiweddaf,* Y mae eu henaid yn agored i'r hyn o gyfreithiau y cyfammod nad ydynt yn eu gwybod. Y maent yn foddlon i'w gwybod, yn dymuno bod wedi eu dysgu hwynt, fel y gallont gydffurfio â hwynt, Psal. cxix. 26. "Dysg i mi dy ddeddfau." Y mae amryw o'n pechodau ni yn guddiedig oddiwrthym; o herwydd bod llawer o gyfreithiau'r cyfammod nad ydym yn eu canfod. Ac nid yw rhagrithwyr yn dymuno gwybod yr holl gyfraith: y maent yn anwybodus o'u bodd o rai pethau ynddi, am na feddant un tuedd i'w llettya hwynt. Eithr y mae y rhai diffuant, gan eu bod yn foddlon i ymadael a phob ffordd dwyllodrus, ac i dderbyn holl iau Crist, ac yn cashau pechod, fel peth gwrthwyneb i ewyllys a natur Duw, ac yn caru dyledswydd, fel peth cytunol â hyny, o angenrheidrwydd, yn agored i amlygiadau pellach o bechod a dyledswydd: y maent "yn dyfod i'r goleuni," Ioan iii. 21. Y maent yn dywedyd,

"Heblaw a welaf, dysg di fi," Job xxxiv. 32. "Chwilia fi, O Dduw, a gwybydd fy nghalon: prawf fi, a gwybydd fy meddyliau, a gwel a oes ffordd annuwiol genyf, a thywys fi yn y ffordd dragywyddol," Psal. cxxxix. 23, 24.

Ac fe gaiff cymmaint a hyn o lafaru fod yn ddigon ar y pummed pen, sef y prawf o fod yn bersonol achubol anwahanol yn y cyfammod gras.

# PEN VI.

## Y FFORDD O OSOD PECHADURIAID YN BERSONOL AC YN ACHUBOL YN Y CYFAMMOD GRAS.

WRTH y cymmeriad a'r nodau a roddwyd, y mae yn ymddangos, nad yw y rhai sydd wedi eu gosod yn bersonol ac yn achubol yn y cyfammod gras, ond ychydig, mewn cymhariaeth i'r rhai sydd yn ddyeithriaid iddo ef; eithr fe ganiateir i ni ei gynnyg ef i ddyeithriaid; i alw a gwahodd y rhai sydd o'r tu allan i'r cyfammod, i ddyfod i mewn iddo ef, ac felly, eu "cymhell hwynt i ddyfod i mewn," Luc xiv. 23. Yma gan hyny y mae newyddion da yr efengyl: y mae cyfammod, (yr hwn y cytunwyd ynddo er tragywyddoldeb,) rhwng Duw â Christ, yr ail Adda, sef y cyfammod gras, wedi ei wneuthur er cymmwynas i bechaduriaid o genedl Adda, oedd wedi eu dinystrio trwy y toriad o'r cyfammod gweithredoedd. Y mae ynddo gyflawn ddarpariaeth er eich iachawdwriaeth, i'ch esmwythâu chwi oddiwrth holl effeithiau dinystriol y cyfammod cyntaf toredig, a'ch gwneuthur yn gyflawn ddedwydd. Y mae ammod y cyfammod hwn yn wir yn uchel, wedi ei throell-

wasgu i radd uchel gan ofynion y gyfraith a chyfiawnder: etto nid oes dim o'r ochr hyny i'ch anghysuro chwi, oddiwrth y cyfammod; o herwydd, a'ch anallu chwi wedi ei ragweled er tragywyddoldeb, fe osodwyd yr ammod i'w chyflawni ar un cadarn; ac yn awr y mae hi yn barod wedi ei chyflawni a'i gorphen o'ch tu chwi, gan yr un cadarn hwnw, Iesu Grist. Nid oes ond yr addewidion yn awr i'w cyflawni. Felly, y mae llwyth yr ammod wedi ei ddwyn drosodd heb eich cynhorthwy chwi; ac yr ydych chwi yn cael eich galw i fwynhau budd yr addewidion. Ac fel y byddo i chwi gael dyfodfa mwy rhydd atynt, y mae gweinyddiad y cyfammod wedi ei osod yn llaw yr un Iesu Grist; ac y mae yr holl addewidion wedi eu hymddiried iddo ef, i'w cyflawni hwynt i bechaduriaid. Y mae efe wedi dechreu eu cyflawni hwynt i bawb a ymaflodd yn y cyfammod, ac y mae efe yn barod i'w cyflawni hwynt i bawb a ymaflant etto yn y cyfammod. I'r dyben hyny, efe a wnaeth ei lythyr-cymun o'r addewidion hyn, ac a osododd bechaduriaid o ddynolryw yn gymun-dderbynwyr iddo; fel y gallo y sawl a ewyllysio ddyfod, a hòni hawl, a "chymmeryd dwfr y bywyd yn rhad," Dat. xxii. 17. Y mae yr oll o'r cyfammod ynddo ef. Ynddo ef y mae Duw, y blaid-gyfammodol o du y nef, 2 Cor. v. 19. Efe ei hun yw y blaid-gyfammodol o du y dyn: ac ynddo ef y mae yr holl gredinwyr yn wirioneddol; a'r holl etholedigion yn gyfreithiol ac yn gynddrychiol. Ynddo ef y mae ammod y cyfammod, a hyny wedi ei chyflawni: efe yw *yr Arglwydd ein cyfiawnder*, Jer. xxiii. 6. Ynddo ef y mae yr *holl addewidion, yn ie, ac yn amen*, 2 Cor. i. 20. y maent oll yn cyfarfod ynddo ef, megis llinellau y cwmpas yn eu canol-bwynt; yn sicr ac yn ddiogel, heb fod mewn un modd yn ddarostyngedig i ymollwng, megis y darfu i addewidion y

cyfammod gweithredoedd yn yr Adda cyntaf. Ac y mae efe, fel brenin, wedi anfon allan ei gyhoeddiad brenhinol, yn cyhoeddi, y bydd i bwy bynag a ddel ato, ac ymuno âg ef, megis pen y cyfammod, gael ei dderbyn i'r cyfammod, a chael hawl i'w holl ragorfreintiau ef, ynddo ef, a thrwyddo ef.

Yn y modd hyn y mae y cyfammod wedi ei ddwyn atoch chwi, a'i osod o'ch blaen chwi yn yr efengyl; felly, fel y mae yn rhaid i chwi o angenrheidrwydd, fod un ai yn dderbynwyr neu yn wrthodwyr o hono ef. Na wrthodwch ef: y mae hyny yn beryglus y tu hwnt i ddarluniad. Cymmerwch afael ynddo; o herwydd eich bywyd ydyw. Bechaduriaid, yr ydych dan y cyfammod gweithredoedd, lle nad oes un bywyd, nac un iachawdwriaeth i chwi: eithr y mae drws y cyfammod newydd wedi ei agor i chwi; deuwch, ewch i mewn iddo yn ddiaros: ffowch, a diangwch allan o dan arglwyddiaeth y gyfraith; dan y cyfammod gweithredoedd y ganed chwi, ac yr ydych yn byw; ac nis gallwch ddianc mewn un modd, ond trwy dderbyn a chofleidio y cyfammod hwn sydd yn cael ei gynnyg i chwi yn yr efengyl, er eich gosodiad yn bersonol ynddo, i holl amcanion bywyd a iachawdwriaeth.

*Pechaduriaid yn cael eu gosod yn y cyfammod trwy ffydd, neu gredu.*

I egluro eich ffordd i'r cyfammod, y mae yn angenrheidiol dangos, trwy ba foddion y mae y pechadur yn ei gofleidio ef, ac yn cael ei osod ynddo yn effeithiol er iachawdwriaeth. Ac y mae hyn, mewn un gair, trwy ffydd, neu trwy gredu yn Iesu Grist, Act. xvi. 31. "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi." Y mae y cyfammod gras yn cael ei ddal allan, yn yr efengyl, i chwi: y mae Duw yn dywedyd wrth bob un o honoch, "Mi a wnaf gyfammod tragywyddol

â chwi, sef sicr drugareddau Dafydd:" ac i ddiweddgloi y cytundeb â chwi, a'ch gosod yn bersonol ynddo, i holl fwriadau ac amcanion iachawdwriaeth, y cwbl a ofynir oddiwrthych chwi, yw gwrando, hyny yw, credu; "Gwrandewch, a bydd byw eich henaid," Esa. lv. 3. Y mae yr hwn sydd yn credu, o fewn y cyfammod gras, yn bersonol ac yn achubol: y mae yr hwn sydd heb gredu, etto dan y cyfammod gweithredoedd, lle y gadawodd yr Adda cyntaf ef. Ffydd yw y llaw, â'r hon y mae un yn cymmeryd gafael yn y cyfammod, ac yn ei arwyddo ef iddo ei hun, ac yn diweddgloi y cytundeb am ei iachawdwriaeth ei hun. Hi yw y genau, trwy yr hwn y mae pechaduriaid yn rhoddi cydsyniad i'r cyfammod, a bod Duw yn dyfod yn Dduw iddynt hwy, a hwythau yn bobl iddo yntau. Er, tra y byddoch o'r tu allan i'r cyfammod, fod gweithredu perffaith ufudd-dod, dan fygythiad o'r felldith, yn cael ei ofyn oddiwrthych; a mwy na hyny, dyoddef hefyd, hyd y nod i foddlonrwydd i gyfiawnder; a'r ddau hyn trwy effaith y cyfammod cyntaf toredig: yn y modd hyn, tra y byddoch o'i fewn ef, y mae ufudd-dod i bob un o'r deg gorchymyn, a dyoddef dysgyblaeth y cyfammod hwnw, os methwch, yn cael ei ofyn oddiwrthych; etto, er eich mynediad i mewn i'r cyfammod gras, a'ch gosodiad ynddo er iachawdwriaeth, nid oes dim yn cael ei ofyn oddiwrthych, ond credu yn Nghrist. *Cred yn unig,* Marc v. 36. yw athrawiaeth sefydlog yr efengyl yn y pwngc hwn. Gwnewch a wneloch, os na chredwch, yr ydych mewn cyflwr colledig: pa beth bynag a wnaethoch, neu ni wnaethoch, credwch, ac yr ydych mewn cyflwr cadwedig. Pe y byddech yn dywedyd a'ch genau fil o weithiau drosodd, eich bod yn derbyn y cyfammod; pe y byddech yn dyfod dan y rhwymau mwyaf mawreddog a difrifol i fod yn eiddo'r Arglwydd, gan gymmer-

yd hyny arnoch yn bendant mewn gweddi, neu ryw ffordd arall; pe y byddech yn ysgrifenu eich cyfammod, ac yn ei dan'sgrifio ef a'ch llaw, ac yn cymmeryd cymun corff a gwaed Crist ar hyny, i gadarnhau y cwbl: etto, os nad ydych yn credu â'r galon yn yr Arglwydd Iesu Grist, nid ydych yn cofleidio'r cyfammod, yr ydych heb yr afael achubol ynddo, ac yn aros o'r tu allan i'w rwymyn achubol ef. A phe y byddech y mynyd hwn yn credu â'r galon yn Nghrist, heb un cyfle genych i lafaru, gweddio, ysgrifenu, na chymuno; etto, y mynyd y credoch, yr ydych yn cael eich gosod yn bersonol ac yn gadwedigol yn y cyfammod, heb fod byth mwy i syrthio allan o hono, trwy oesoedd tragywyddoldeb: y mae Duw yn Dduw i chwi, a holl addewidion y cyfammod yn eiddo i chwi: er i chwi fethu ymaflyd yn y cyfammod ddeng mil o weithiau o'r blaen, etto trwy gredu, y mae efe mewn gafael genych, yn ddiogel ac yn sicr, Marc xvi. 16. "Y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig: eithr y neb ni chredo a gondemnir."

Ac y mae i gredu yn Nghrist fod y moddion gosodedig i osod pechaduriaid yn wirioneddol yn y cyfammod gras, yn hollol gytunol a natur a dyben yr oruchwyliaeth fawr hòno. Yr hyn sydd yn ymddangos trwy ystyried y ddau beth hyn a ganlyn.

1. Trwy hyn y mae gras y cyfammod yn cael ei ddiogelu yn hollol yn ngoruchwyliaeth y cyfammod: a thrwy y moddion hyny, y mae yr addewid yn cael ei gwneuthur *yn sicr i'r holl had*, Rhuf. iv. 16. Y mae ffydd yn cael ei gwrthddynodi i weithredoedd, megis y mae gras i ddyled, pen. iv. 4, 5. Pe un gweithio neu wneuthur o'n heiddo ni fuasai yr hyn, ar y cyflawniad o'r hwn y buasem ni yn cael ein gosod yn y cyfammod, ac yn cael hawl i'r addewidion, yna fe fuasai y cyf-

ammod a'r budd o hono o ddyled i ni, yn wrthwyneb i fwriad a dyben cyhoeddiedig y drefn hòno o iachawdwriaeth, yr hon sydd i ddyrchafu rhydd ras Duw, ac i dori ymaith bob ymffrost oddiwrthym ni, Eph. ii. 8, 9. Eithr y mae natur effeithioldeb ffydd yn y gorchwyl, wedi ei chymhwyso i'r bwriad a'r dyben hyny o eiddo'r cyfammod, gan ei bod hi yn ras sydd, nid yn rhoi, eithr yn derbyn, yn hollol; yn cymmeryd y cwbl yn rhâd gan Grist, heb arian, ac heb werth, gan osod holl bwys derbyniad yr enaid gydâ Duw, yn hollol ar yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd Crist; ac yn ymwrthod yn hollol â phob gwneud a dyoddef o'n heiddo ein hunain, yn y pwngc hwnw. Yn y modd hyn y mae yr addewid yn sicr i ni; o herwydd cyhyd y byddai dadl un weithred o'n heiddo ni yn un hollol ansicr, y mae dadl ffydd bob amser yn sicr ac yn ddianwadal, gan ei bod wedi ei sylfaeni yn unig ar yr hyn a wnaeth Crist.

2. Trwy hyn y mae mynediad y pechadur i mewn i'r cyfammod, trwy uno a Christ, y cynddrychiolwr, â'r hwn y gwnaethwyd ef, megis plaid-ymgyfammodol; yn ol adroddiad yr ysgrythyr o'r mater, Ioan x. 9. "Myfi yw y drws: os â neb i mewn trwof fi, efe a fydd cadwedig:" ac felly, y mae undod y cyfammod, a'r cynnrychioliad o hono, yn cael ei ddiogelu. Pe y byddai i ddynion fyned i mewn i'r cyfammod rhyw ffordd arall, megis trwy ammodau o dderbyniad (mewn dull priodol o'u galw) yn cael eu cynnyg iddynt, a hwythau i addaw eu cyflawni hwynt drostynt eu hunain: yn y dull hyny, y mae y cynnrychioliad yn y cyfammod yn cael ei nîweidio; ac fe fyddai, trwy hyny, gynnifer o gyfammodau gras, ac a fyddai o bersonau yn ei gofleidio ef o amser i amser; o'r hyn lleiaf byddai cyfammod Crist yn un, a'n cyfammod ninau yn un arall gwahanol

oddiwrth hwnw; yr ydys wedi sicr-brofi yn wahanol i hyny o'r ysgrythyr o'r blaen. Eithr â'r cyfammod gras wedi ei wneuthur â Christ, fel ail Adda, yn enw y rhai oll oedd eiddo ef, o ganlyniad y mae yn amlwg, mai yr unig ffordd i un fyned i mewn iddo yn bersonol, a raid fod, trwy iddo ddyfod yn eiddo ef, a bod mewn perthynas â phen y cyfammod, fel ein pen ni: a thrwy ffydd, ac nid trwy ddim gweithredoedd, na'n cydsyniad ninau yn wahanol oddiwrth ffydd, yr ydym yn cael ein huno âg ef, ac yn dyfod yn aelodau o'i gorff ef, Eph. iii. 17. Pa fodd yr ydym ni oll yn myned i mewn yn bersonol i'r cyfammod gweithredoedd, felly, fel yr ydym yn cyfranogi o'i felldith ef? Ai nid trwy ein bod, trwy genedliad naturiol, yn ganghenau o'r Adda cyntaf, y cynnrychiolwr yn y cyfammod hwnw? Trwy hyn y mae pob un o honom wedi myned i mewn, a chael ein gosod yn bersonol yn y cyfammod hwnw, cyn ein bod yn alluog i'w gymmeradwyo, na'i anghymmeradwyo ef, i gydsynio ag ef, nac ymneillduo oddiwrtho. Hyd y nod felly, yr ydym yn myned yn bersonol i mewn i'r cyfammod gras, yn y modd ag yr ydym yn cael cyfranogi o'i gymmwynasau ef, trwy ddyfod yn ganghenau o'r ail Adda, y cynnrychiolwr ynddo; ac y mae hyny trwy ffydd, mewn personau addas i weithredu ffydd. Trwy gael ein himpio yn Nghrist, yr ydym yn dyfod i gyfranogiad o'r cyfammod a'r cymmwynasau sydd ynddo. Oddiyma y mae, fod babanod, nad yw yn alluog i gredu yn weithredol, nac i wybod beth yw'r cyfammod, etto trwy fod yn feddiannol ar Ysbryd ffydd, yn cael ei gosod yn bersonol ynddo ef; yn gymmaint a bod yr Ysbryd ffydd hwnw yn effeithiol ynddynt hwy, i'w gwir uno hwynt â Christ. A hyn y cytuna gwaith Duw yn rhoddi Crist yn gyfammod; fel y gallai pobl gael y cyfammod, a'i holl gymmwyn-

asau, ynddo ef. Megis y darfu i Dduw, yn y gwneuthuriad o'r cyfammod, gymmeryd Crist am y cwbl; am yr ammod, ac am i'r personau gael derbyn yr addewidion, trwy mae efe oedd yr ail Adda; felly y mae i bechaduriaid, yn eu gwaith yn derbyn ac yn cofleidio y cyfammod, ei gymmeryd ef am y cwbl; gan fod yr oll o'r cyfammod, y pleidiau a'r rhanau o hono hefyd, ynddo ef, yn gymmaint a'i fod ef yn Dduw yn gystal ag yn ddyn, yn ail Adda.

Ac yn y modd hyn y mae yn ymddangos, fod ymuno â Christ, pen y cyfammod, yn fynediad gwirioneddol o eiddo y pechadur i mewn i'r cyfammod: yr hwn ymuno ag ef, gan ei fod trwy ffydd ynddo ef, y mae yn amlwg, mai trwy gredu yn Nghrist y mae y pechadur yn cofleidio, yn myned i mewn, ac yn cael ei osod yn y cyfammod or iachawdwriaeth. O herwydd paham, cyrhaeddwch Grist trwy ffydd, a chwi a gyrhaeddwch y cyfammod; os methwch ef, chwi a fethwch y cyfammod, yn y pwngc o fywyd a iachawdwriaeth. Eithr y mae gofyniad pwysig yn cyfodi oddiyma, sef,

*Gofyn*. Beth yw y credu hwnw, trwy yr hwn y mae un yn ymuno â Iesu Grist, ac felly yn myned i mewn i'r cyfammod gras? *Ateb*. Gan fod yr amlygiad o'r pwngc hwn mor angenrheidiol er cyfarwyddo pechaduriaid yn eu ffordd i'r cyfammod, er eu tragywyddol iachawdwriaeth; ni a gawn, am yr hyn sydd yn awr yn ol, gyfeirio ein hunain at yr ystyriaeth o hyny yn unig.

Ac i ddechreu gydâ'r gair trwy'r hwn y mae yr Ysbryd Glân yn darlunio yr hyn yr ydym ni yn ei alw yn *gredu*, pa un bynag ai yn yr Hen Destament neu yn y Newydd; pwy bynag a wnelo ystyried yn iawn y cynnwysiad o hono, yn ei arferiad ysgrythyrol, a wel mai cywir ymddiried yw, ymddiried i air, person, neu beth. Oddiyma

y mae fod ymadroddiad yr ysgrythyr, o gredu i, a chredu yn, hyny yw, ymddired i, ac ymddiried yn: y mae'r ymadroddion blaenorol, pa mor anarferol bynag y maent gydâ ni mewn ymddiddan, etto yn gyffredin, yn yr Hen Destament a'r Newydd, yn ol y ieithoedd gwreiddiol. Y mae yn ymddiried i air, megis i *ymadrodd*, Esa. liii. 1. *yn ei eiriau*, Psal. cvi. 12. Y mae yn ymddiried i berson: felly, yn iaith yr Ysbryd Glân, *fe gredodd yr Israeliaid yn yr Arglwydd, ac yn Moses ei was ef*, Ecs. xiv. 31. *Ni chredodd yn ei weision*, Job iv. 18. hyny yw, *ni roddes ymddiried ynddynt*, fel yr ydym ni yn ei ddarllen ef. Ac y mae yn ymddiried i *beth* hefyd: felly, yn yr un iaith, Job xxxix. 12. "A goeli di ef (sef yr unicorn) y dwg efe dy had di drachefn?" hyny yw, *A ymddiriedi di ynddo ef y gwna efe hyny?* Deut. xxviii. 66. *Ni chai gredu yn dy einioes;* hyny yw, "Ni byddi sicr o'th einioes," fel yr ydym ni yn ei ddarllen ef; dim ymddiried ynddi, am nad oes un sicrwydd o honi. Y mae yr ymadroddiad yr un fath yn y Testament Newydd, megis wedi ei ddwyn iddo ef o'r Hen Destament, ond yn unig ei fod mewn iaith wahanol. A thrwy gymmeryd meddwl yr Ysbryd Glân yn y mater hwn, oddiwrth y geiriau y mae efe yn llefaru ynddynt, megis ein haddysgir, 1 Cor. ii. 13. yr ydym yn penderfynu mai *ymddiried*, yw *ffydd* neu *gredu*, sydd yn cael ei ddarlunio ganddo ef yn yr ysgrythyr, yn y cyffredinolrwydd o hono; ymddiried mewn gair, ac mewn person a pheth, yn cael eu dal allan yn y gair hwnw.

Yn awr, y mae gair dau-blyg i gael ei gredu neu ymddiried ynddo, gan bawb a fynent fyned i mewn i'r cyfammod gras mewn modd achubol; sef, gair y gyfraith, a gair yr efengyl. Y grediniaeth o'r cyntaf, yw ffydd y gyfraith; y grediniaeth o'r diweddaf, yw ffydd yr efengyl: am ba rai yr ymdriniwn mewn trefn.

*Ffydd y Gyfraith yn ddarpariadol i'r Cyfammod.*

Nid yw ffydd y gyfraith, yn wir, yn ffydd achubol: o herwydd, gair neu weinidogaeth dammedigaeth yw y gyfraith, ac nid gweinidogaeth cyfiawnder; gan nad yw hi yn llefaru dim am waredwr, na iawn, na chyfiawnder cyfrifol, 2 Cor. iii. 9. Er hyny, y mae hi yn rhagflaenor angenrheidiol i hyny, yn ol y drefn osodedig o oruchwyliaeth y cyfammod. Y mae *ffydd y gyfraith* yr un fath a chlywed y *gwynt cryf*, a theimlo y *ddaear-gryn*, a gweled y *tan*, y rhai, er *nad oedd yr Arglwydd ynddynt*, etto hwy a fuant yn wasanaethgar i beri clust-feinio, ar y *llef ddistaw fain* yn yr hon yr oedd yr Arglwydd, 1 Bren. xix. 11, 12. Yn gyfattebol i hyny, y mae ffydd y gyfraith yn waith Ysbryd Duw, yn gystal a ffydd achubol yr efengyl, er ei bod hi yn cael ei gweithredu mewn modd gwahanol. Y mae efe yn gweithredu y flaenaf fel Ysbryd caethiwed, gan argyhoeddi o bechod a thrueni trwy'r gyfraith, Rhuf. viii. 15. y'nghyd â Ioan xvi. 8. Y mae yn gweithio'r olaf fel Ysbryd bywiocâol, yn goleuo'r enaid yn y wybodaeth o Grist, trwy'r efengyl, 2 Cor. iii. 17, 18.

Y mae yn rhaid, gan hyny, i bwy bynag a fyno fyned i mewn i'r cyfammod, yn y lle cyntaf, gael ffydd o'r gyfraith; o herwydd pa achos, y mae yn angenrheidiol i'r gyfraith, yn gystal a'r efengyl, gael ei phregethu i bechaduriaid. Ac y mae y ffydd hòno o'r gyfraith yn gynnwysedig mewn crediniaeth o'r tri pheth hyn a ganlyn:

1. Trwyddi hi y mae dyn yn credu ei fod ef yn bechadur. Y mae y gyfraith sanctaidd yn ei gyhoeddi ef yn euog: ac y mae yntau yn credu cyhoeddiad y gyfraith mewn perthynas iddo ei hun yn bennodol; y mae ei galon drom ac athrist, trwy y ffydd hon, yn ad-

seinio llef y gyfraith, *euog, euog!* Rhuf. iii. 19. Yr hon ffydd nid yw yn gorphwys ar dystiolaeth dyn, pa un bynag ai mewn gair ai mewn ysgrifen y byddo; eithr y mae hi yn ffydd dduwiol, wedi ei sylfaenu ar dystiolaeth Duw yn ei gyfraith santaidd, yn cael ei harddangos gan Ysbryd caethiwed, yn llef y Duw tragywyddol, ac yn llef y Duw hwnw tuag ato ef yn bennodol. Ac yn y modd hyn y mae efe yn credu, 1. Fod ei fywyd a'i ymarweddiad ef yn bechadurus, yn anfoddhaol ac yn atgas yn ngolwg y Duw santaidd, yn ol y dystiolaeth Ddwyfol, Rhuf. iii. 12. "Gwyrasant oll, aethant i gyd yn anfuddiol; nid oes un yn gwneuthur daioni, nac oes un." Y mae efe wedi ei argyhoeddi, ei fod wedi myned allan o ffordd Duw, ac yn rhodio yn ffordd dinystr; ac nas gall ddeall rhif y cyfeiliornadau o'i esgeulusiad a'i weithrediad; a bod ei holl gyfiawnderau yn gystal a'i anghyfiawnderau ef, *megis bratiau budron* gerbron yr Arglwydd. 2. Bod ei galon ef yn llawn anwiredd a drygioni, yn ol y dystiolaeth Ddwyfol, Jer. xvii. 9. "Y galon sydd fwy ei thwyll nâ dim, a drwg diobaith ydyw." Y mae y gyfraith, trwy lewyrchu i'r galon, yn datguddio amryw chwantau yno, nad oedd ganddo ef fawr o sylw arnynt o'r blaen; ac y mae gwasgu y galon ansantaidd yn eu cyffroi hwynt: ac yn y modd hyn y mae y fath dditgelwch o anwiredd o fewn ei fynwes yn ymagor i'w olwg ef, ac nas gallasai efe byth gredu o'r blaen, ei fod ef yno, Rhuf. vii. 9. "Yr oeddwn i gynt yn fyw heb y ddeddf: ond pan ddaeth y gorchymyn, yr adfywiodd pechod, a minnau a fum farw." 3. Bod ei natur ef wedi ei hollol lygru, megis un marw mewn camweddau a phechodau, yn ol y dystiolaeth Ddwyfol, Eph. ii. 1. Ac mewn attebiad i ddedfryd y gyfraith, "Pwy a ddyry beth glân allan o beth aflan?" Job xiv. 4. y mae ei enaid, trwy y ffydd hon, yn

adseinio yn ol, *Aflan, aflan!* "Mewn anwiredd y'm lluniwyd; ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf." Y mae efe wedi ei argyhoeddi fod ei afiechyd ef yn etifeddawl ac yn naturiol, ac am hyny bod yn rhaid i'w natur ef gael ei hadnewyddu; ac onidê, nid yn unig nas *gwna* efe ddim da, ond nas *gall* efe wneuthur dim daioni. Yn yr holl ystyriaethau hyn, y mae efe yn credu ei fod yn wrthddrych atgas yn ngolwg Duw; atgas yn ei natur, ei galon, a'i fywyd.

2. Trwyddi hi y mae dyn yn credu ei fod yn bechadur colledig ac andwyol, dan felldith y ddeddf, yn agored i ddigofaint, yn ol y dystiolaeth Ddwyfol, Gal. iii. 10. "Melldigedig yw pob un nid yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf, i'w gwneuthur hwynt." Nis gall efe mwy edrych ar y felldith megis rhyw beth dyeithr, nad yw yn perthyn ond yn unig i ryw anghenfilod mewn drygioni, ac nid iddo ef: o herwydd, y mae Ysbryd yr Arglwydd, megis Ysbryd caethiwed, yn ei chymhwyso hi yn dyn ato ef; megis pe bai efe yn dywedyd, *Tydi yw y gwr*. Ac y mae yntau, fel un dan ddedfryd marwolaeth wedi ei chyhoeddi yn ei erbyn, yn griddfan allan ei grediniaeth o honi, dan ei gwasgfa hi, "A minnau yn marw," Luc xv. 17.

*Yn ddiweddaf,* Trwyddi hi y mae dyn yn credu ei hollol anallu i adferyd ei hun. Y mae efe yn credu nas gall, trwy ddim a wnelo neu a ddyoddefo efe, symud melldith y ddeddf oddiarno ei hun, yn ol y dystiolaeth Ddwyfol o ein bod yn *weiniaid* yn y pwngc hwnw, Rhuf. v. 6. na newid ei natur, na'i galon, na'i fuchedd, fel y byddont yn gymmeradwy gerbron Duw; yn ol y dystiolaeth anffaeledig, Jer. xiii. 23. "A newidia yr Ethiopiad ei groen, neu y llewpard ei frychni? felly chwithau a ellwch wneuthur da, y rhai a gynnefinwyd â gwneuthur drwg." Y mae efe yn

ei olwg ei hun, megis y mae efe yn ngolwg Duw, yn ddyn ysbrydol farw; yn gyfreithiol farw, ac yn foesol farw, megis y mae'r apostol yn tystiolaethu am dano ei hun yn y cyflwr hwnw, Rhuf. vii. 9.

Dyma ffydd y gyfraith. Ei heffaith hi yw edifeirwch deddfol, trwy yr hwn y mae y pechadur yn cael ei ddryllio a'i falurio, âg ofn a dychryn digofaint Duw; yn gofidio ac yn galaru am bechod, megis drwg dinystriol ac andwyol; ac am hyny, yn dymuno yn wirioneddol i gael ei wared oddiwrtho; yn anobeithio am waredigaeth trwyddo ei hun, ac yn dysgwyl yn ddifrifol am ymwared mewn fl'ordd arall, Act. ii. 17, 37. a'r xvi. 29, 30. Yn y modd hyn, "Y ddeddf gan hyny yw ein hathraw ni at Grist;" ac y mae ffydd y gyfraith yn agor y ffordd i ffydd yr efengyl. Nid yw y ffydd ddeddfol hon, na'r edifeirwch deddfol hwn, yn ammod ein croesaw ni at Grist a'r cyfammod gras: y mae ein dyfodfa ni at Grist a'r cyfammod, yn cael ei chyhoeddi yn rhydd, heb ddim ammodau na chymhwysiadau ynom ni, i'n hawdurdodi ni bechaduriaid o ddynolryw i gredu yn Nghrist, megis y dangoswyd o'r blaen. Eithr y maent yn angenrheidiol i'n cyffroi a'n cynhyrfu ni, i ddefnyddio ein rhagorfraint o rydd ddyfodfa at Grist a'r cyfammod; yn gymmaint felly, fel nad oes neb a ddaw at Grist, na chofleidio'r cyfammod, hebddynt, mewn mesur mwy neu lai. Yn yr un modd a phe y byddai i feddyg beri i gyhoeddiad gael ei roddi allan, y bydd iddo ef wella holl gleifion y cyfryw le yn rhad, ag a'i rhoddo ef ar waith: yn y fath amgylchiad, y mae yn amlwg, na rydd neb alwad iddo, ond y rhai a fyddo yn deimladwy o'u hafiechyd; etto, nid y teimlad hwnw o'u clefyd yw'r ammod o'u croesaw at y meddyg; ac nid yw hyny yn angenrheidiol i'r dyben o iddo ef eu hiachau hwynt, ond i'r dyben o iddynt hwy roi galwad iddo ef.

Yn awr, wrth eich galw chwi i gofleidio'r cyfammod, yr ydych yn cael eich galw yn anghyfeiriol, a thrwy ganlyniad, i'r ffydd hon o eiddo'r gyfraith; sef, i gredu eich bod yn bechaduriaid yn eich hymarweddiad, eich calon, a'ch natur; yn golledig ac yn andwyol, dan y felldith, ac yn hollol analluog i adennill eich hunain. Etto nid yw hi yn ffydd achubol, nac yn gosod un yn y cyfammod gras: y mae hyny yn perthyn yn neillduol i fath arall o gredu; ac y'nghylch hwnw yn y lle nesaf.

*Am ffydd yr efengyl, yr hon sydd yn dwyn i mewn i'r cyfammod.*

Y ffydd achubol, yr hon sydd yn uno un â Christ, yw *ffydd yr efengyl.* O herwydd, yr efengyl yn unig yw gweinidogaeth cyfiawnder, 2 Cor. iii. 9. Canys ynddi hi y mae cyfiawnder ffydd yn cael ei ddatguddio i ffydd, yn cael ei ddatguddio i gredu ynddo, Rhuf. i. 17. Hi yw yr unig air sydd yn rhoddi hysbysrwydd i bechaduriaid o'r Gwaredwr, o waed y cymmod, a'r cyfammod newydd yn y gwaed hwnw; ac am hyny, hi yw yr unig air trwy yr hwn y mae ffydd achubol yn cael ei chenhedlu yn nghalon pechadur. Yn ngair yr efengyl, y mae yr Arglwydd a'r Achubwr Crist, y'nghyd a'i holl gymmwynasau a'i gyfammod; a hyny i gredu ynddo, megis y mae yn ymddangos oddiwrth Rhuf. x. 6—9. Felly, trwy i air yr efengyl gael ei dderbyn, trwy gredu, yr ydym yn cael meddiant o Grist, a'i gyfammod, y'nghyd a'r holl fendithion sydd ynddo: ffydd achubol yn yr enaid sydd wedi ei fywhau, yw adsain i air gras, sydd yn dwyn iachawdwriaeth; ac ymddiried yn ngair yr efengyl, a'r person, sef yr Achubwr, a'r pethau sydd ynddo yn cael ei dal allan i ni i'w credu er iachawdwriaeth, Marc i. 15. "Credwch yr efengyl," Esa. liii. 1. "Pwy a gredodd i'n hymadrodd?"

Gal. iii. 2. "Gwrandawiad ffydd." Hwn yw y credu hyny, trwy yr hwn yr ydym ni yn cael ein huno â Christ, a myned i mewn i'r cyfammod gras; a'n gosod ynddo er iachawdwriaeth. Yr hwn gredu a all gael ei egluro mewn pedwar pwngc; 1. Y grediniaeth o ddyoddefiadau Crist. 2. Y grediniaeth o gynnygiad yr efengyl. 3. Y grediniaeth o'n hawl i Grist. 4. Y grediniaeth o briodol hyder am iachawdwriaeth. Felly, trwy osod y gofyniad,

*Gofyniad*, Beth yw y grediniaeth hòno, trwy'r hon y gallaf fi, bechadur colledig, dan felldith y ddeddf, gael fy uno â Iesu Grist, ac felly myned i mewn i, a chael fy ngosod yn y cyfammod gras, er fy nhragywyddol iachawdwriaeth? Yr ydym yn *ateb* i hyny yn ddioed, yn y pedwar pwngc hyn, mewn ffordd o hyfforddiad yn y pwngc pwysfawr hwn, ar yr hwn y mae iachawdwriaeth yn ymddibynu.

I. Y grediniaeth o ddyoddefiadau Crist.

Yn y lle cyntaf, yr ydych i gredu fod cyflawnder o iachawdwriaeth yn Nghrist i bechaduriaid tlodion. Hyn yw cyhoeddiad gwastadol yr efengyl mewn perthynas iddo ef, Eph. iii. 8. "I mi—i efangylu yn mysg y cenhedloedd anchwiliadwy olud Crist," Heb. vii. 25. "Efe a ddichon hefyd yn gwbl iachâu y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at Dduw." Yn ngair yr efengyl, y mae Crist yn cael ei ddal allan yn Waredwr galluog; yn alluog i wared dynion oddiwrth eu pechodau, ac oddiwrth ddigofaint Duw: y mae ei haeddiant ef yn ddigonol amddiffyn yn erbyn y storom o danllyd ddigofaint, yr hwn y mae cyfiawnder ennynol yn barod i beri iddo chwythio allan yn erbyn troseddwyr, Esa. xxxii. 2. "A gwr fydd yn lloches rhag y dymestl." Y mae ei Ysbryd yn ddigonol i santeiddio y mwyaf ansantaidd, 1 Cor. vi. 11. "A hyn a fu rhai o honoch

chwi: eithr chwi a olchwyd; eithr chwi a sancteiddiwyd; eithr chwi a gyfiawnhâwyd, yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni." Y mae y cyfiawnder a gyflawnodd efe, fel ammod y cyfammod, mor werthfawr ynddo ei hun, ac yn ngolwg y Tad, fel y mae efe yn ddigonol i ennill cyfiawnhâd, a santeiddhâd, a'r holl gymmwynasau achubol ereill, i bechaduriaid, y rhai ynddynt eu hunain sydd yn haeddu damnedigaeth: felly, fel y mae y rhai sydd ynddo ef yn ddedwydd; ni chant byth drengu, eithr hwy a gânt fywyd tragywyddol, gan eu bod yn dragywyddol ddiogel dan gysgod ei gyfiawnder ef, fel amddiffynfa ddigonol. *A wyt ti yn credu hyn?*

Dyma ffydd gyffredinol yr efengyl, yr hon, heb gymhwysiad neillduol o honi, nid yw yn uno y pechadur â Christ, nac yn ei osod ef yn y cyfammod; ac fe ellir ei chael hi yn y rhai anghymmeradwy a'r angelion syrthiedig, heb fod yn ddim ond cydsyniad cyffredinol â gwirionedd athrawiaeth yr efengyl, Mat. xiii. 20, 21. a'r viii. 26. Eithr, trwy natur y peth, y mae hi yn rhagfynediad angenrheidiol i ffydd o neillduol gymhwysiad; o herwydd, y mae yn rhaid i mi yn gyntaf gredu fod ymadrodd yn wirionedd ynddo ei hun, cyn y gallwyf roddi fy ymddiried ynddo; y mae yn rhaid i mi yn gyntaf gredu fod y peth yn dda ynddo ei hun, cyn y gallwyf gredu ei fod ef yn dda i mi.

Eithr lle y mae ffydd yr efengyl yn cael ei dwyn y'mlaen i undeb â Christ, y mae effaith y ffydd gyffredinol hon yn werthfawr iawn, yn gystal ag yn angenrheidiol: a hyny yw, y mae hi yn peri fod gan y dyn gyfrifiad uchel ar Grist a'i gyfammod, a dymuniad awchus am undeb a chymundeb âg ef, a hiraeth am ei gyfiawnder ef, megis y mae y newynog yn hiraethu am fwyd, a'r sychedig am ddiod. Y mae y dyn yn gweled mewn gwirionedd, na fedd efe un neillduol hawl

yn Nghrist a'i gyfiawnder; eithr efe a ddymunai gael hyny: y mae yr oll yn ddirinwedd iddo ef heb hyny; y mae ei enaid ef o'i fewn yn llefain, rhowch Grist i mi, onidê yr wyf yn marw: y mae efe yn foddlon i ymadael â phob peth er ei fwyn ef, a'i gymmeryd ef yn lle'r cwbl. Y mae hyn yn cael ei ddangos i ni yn nammeg y *trysor yn y maes* a'r *perl gwerthfawr*, y rhai trwy ddyfod o hyd iddynt sydd yn peri cyffro i werthu'r cwbl a'u prynu hwynt, Mat. xiii. 44, 45, 46.

Er hyny, y mae y cyfrifiad a'r dymuniad hyn o Grist, yn wahanol oddiwrth yr hyn sydd yn canlyn ar waith yr enaid yn dyfod i undeb â Christ, pan un waith y byddo ffydd wedi cymmeryd meddiant o hono ef a'i gymmwynasau, ac wedi cael golwg ar ei briodol dra-enwog werth, a'i bris ef, yr hyn a grybwyllir, 1 Ped. ii. 8. Psal. lxxiii. 25. Y wir ffynhonell o'r holl gyfrifiad a'r dymuniad *hwn*, yw yr egwyddor o hunan-gadwedigaeth, ac y mae yr olwg ar Grist yn cyfateb i'r dyben hyny. Y mae y marchnatâwr yn ceisio perlau têg i'r dyben i gyfoethogi ei hun; a thrwy weled y gwna un perl ateb y dyben i hyny, y mae efe yn ddiorphwys nes iddo ei feddiannu ef. Y mae y pechadur tlawd yn cael ei ymlid yn ddibaid gan felldith y ddeddf, yr hon sydd o hyd yn swnio marwolaeth a damnedigaeth yn ei glustiau ef. Ar y cyfamser, y mae efe yn cael golwg o bell ar y ddinas noddfa, ac am hyny y mae efe yn ymwneud tuag ati gydâ phob brys: eithr beth sydd yn peri iddo redeg, ond bywyd, bywyd, gwerthfawr fywyd, fel na byddo iddo farw? Yn wir, nis gellir dysgwyl iddo weithredu oddiar egwyddor mwy boneddigaidd, cyn iddo gael ei uno â Christ, Ioan xv. 5. "Oblegid hebof fi ni ellwch chwi wneuthur dim." Eithr na fydded iddo ofni, y mae iddo roesaw i ddyfod at Grist, e . ad yw yn dyfod ato oddiar un egwyddor gwell.

Y gwirionedd yw, y mae ein Harglwydd Iesu, trwy ei Ysbryd, yn peri i'r egwyddor o hunan-gadwedigaeth ymgynhyrfu, yr hon ynddi ei hun sydd beth da, ac yn ei defnyddio hi fel moddion i gyflymu pechaduriaid ato ei hun. Y mae hyn yn amlwg oddiwrth yr achwyniad, Ioan v. 40. "Ond ni fynwch ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd." A all un ddychymygu y gwna ein Harglwydd wrthod pechadur a fyddo yn dyfod ato ef am fywyd, pan y mae efe yn cwyno na ddaw pechaduriaid ato ef i'r dyben hyny?

II. Y grediniaeth o gynnygiad yr efengyl.

Yn y lle nesaf, y mae yn rhaid i chwi gredu, fod Iesu Grist, y'nghyd a'i gyfiawnder, a'i holl iachawdwriaeth, yn cael ei gynnyg ganddo ei hun i bechaduriaid, ac i chwi yn bennodol. Hyn yw llef amlwg yr efengyl, at bawb y mae hi yn dyfod atynt, Esa. lv. 1. "O deuwch i'r dyfroedd, bob un y mae syched arno, ie, yr hwn nid oes arian ganddo; deuwch, prynwch, a bwytewch; ie, deuwch, prynwch win a llaeth, heb arian, ac heb werth." Dat. xxii. 17. "A'r hwn sydd yn ewyllysio, cymmered ddwfr y bywyd yn rhad." Diar. viii. 4. "Arnoch chwi, wyr, yr wyf fi yn galw; ac at feibion dynion y mae fy llais." Ond och! ychydig sydd yn credu hyn: ie, ni chred neb hyn i ateb y dyben, hyd oni wnelo yr Ysbryd Glân ef yn amlwg iddynt, a'u perswadio hwynt, trwy lewyrchiad tufewnol. Y mae llawer o bechaduriaid diofal yn clywed yr efengyl, ac yn hoffi y cynnyg; eithr nid ydynt yn dirnad lleferydd Crist ynddi. Nid ydynt yn ei chlywed hi fel gair yr Arglwydd Crist atynt hwy, eithr fel gair dynion: o ganlyniad, nid oes awdurdod dyladwy ganddi ar eu cydwybodau hwynt; felly, y maent yn ei phasio hi drosodd yn ysgafn. Yn y modd hyn y darfu i'w gynnygiad ef o hono ei hun gael ei groesawi, pan y gwnaeth efe hyny o'i enau ei

hun, eithr nis canfyddwyd *ef*, fel tragywyddol Fab Duw, a Iachawdwr y byd. Felly yr oedd yn y gynnulleidfa yn Nazareth, "Yr oedd pawb yn dwyn tystiolaeth iddo, ac yr oeddent yn rhyfeddu am y geiriau grasol a ddeuai allan o'i enau ef." Eithr "hwy a ddywedasant, Onid hwn yw mab Joseph?" Luc iv. 22. Ac yn fuan ar ol hyny, "Hwy a godasant i fynu, ac a'i bwriasant ef allan o'r ddinas," adn. 29. Drachefn, pan y mae lleferydd Crist yn cael ei ddirnad gan y pechadur argyhoeddiedig yn y gwahoddiad, yno y mae y pechadur yn barod i farnu, mae at ereill y mae, ac nid ato ef. Y mae anghrediniaeth yn dywedyd, "Ein hesgyrn a wiwasant, a'n gobaith a gollodd; torwyd ni ymaith o'n rhan ni," Ezec. xxxvii. 11. Nis gallant gredu fod y fath newydd da o'r nef yn perthyn iddynt hwy, neu fod y fath air da yn cael ei gyfeirio atynt hwy. Ac yn y modd hyn y mae dynion, trwy beidio credu Duw yn ei dystiolaeth am ei Fab, sef ei fod ef, y'nghyd a'i holl iachawdwriaeth, yn cael ei gynnyg iddynt, yn ei wneuthur ef yn gelwyddog, 1 Ioan v. 10.

Eithr lle y mae ffydd achubol yn gweithio, y mae gair cynnygiadol yr efengyl, trwy yr Ysbryd Glân, yn cael ei gymhwyso at yr enaid mewn modd neillduol, gydâ gallu, fel gair yr Arglwydd ei hun, ac nid gair dynion; trwy yr hyn y mae y dyn yn cael sicrwydd mai lleferydd Crist ydyw, ac ato ef yn neillduol: oddiar yr hyn y mae efe yn ei gymhwyso ef ato ei hun trwy gredu, 1 Thes. i. 5. "Oblegid ni bu ein hefengyl ni tuag atoch mewn gair yn unig, eithr hefyd mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân, ac mewn sicrwydd mawr." pen. ii. 13. "I chwi, pan dderbyniasoch air Duw, yr hwn a glywsoch genym ni, ei dderbyn ef nid fel gair dyn, eithr (fel y mae yn wir) yn air Duw, yr hwn hefyd sydd yn nerthol-weithio ynoch chwi y rhai sydd yn credu." Y mae hyn yn gyfan-gwbl

angenrheidiol; gan nas gall un derbyniad o Grist fod heb hyn, nis gall yr enaid weled un tir caled o sylfaen ffydd iddo ei hun: o herwydd y mae yn amlwg, nas gall un iawn dderbyniad fod, lle nad yw y pechadur yn credu bod y cynnyg iddo ef yn neillduol. Ac yma y mae cyflead ffydd yn dechreu, yr hwn gyflead sydd yn tywys i undeb â Christ.

O herwydd paham, os ydych yn ewyllysio ymuno â Christ, ac felly fyned i mewn i'r cyfammod gras, bwriwch eich hunain gerbron yr Arglwydd, fel pechaduriaid colledig, dan felldith y ddeddf; a gwrandewch a chredwch air yr efengyl, megis wedi ei gyfeirio atoch chwi, bechaduriaid melldigedig a cholledig, yn neillduol. Ac felly y daw efe atoch chwi, fel codiad haul i un yn eistedd mewn tywyllwch a chysgod angeu; neu fel y cynnygiad o faddeuant i un dan ddedfryd marwolaeth. Na adewch i'ch calon beri i chwi ddrwgdybio trwy anghrediniaeth: eithr credwch yn ddiogel fod y cynnyg wedi ei wneuthur gan Grist ei hun i chwi, megis y mae efe mewn gwirionedd, Esa. lv. 3. "Gwrandewch, a bydd byw eich enaid: a mi a wnaf gyfammod tragywyddol â chwi."

Eithr y mae yn angenrheidiol yma i symud y gwrthddadleuon canlynol.

*Gwrth.* 1. Eithr y mae Crist yn awr yn y nef, ac nid wyf fi yn clywed un lleferydd oddiyno: pa fodd gan hyny y gallaf fi gredu ei fod ef ei hun, yn cynnyg ei hun i mi? *Ateb,* Er bod Crist yn y nef, etto y mae efe yn llafaru o'r nef wrthym ni; ac nid trwy lef yn seinio trwy'r cymylau, etto trwy lef yn seinio yn yr efengyl, Heb. xii. 25. "Edrychwch na wrthodoch yr hwn sydd yn llafaru o'r nef." Ac nid yn unig y mae ei *lef* ef yn ngair yr efengyl, eithr y mae *efe* ei hun, trwy ei Ysbryd, ynddi hi, megis y mae yr apostol yn

dangos, Rhuf. v. 6—8. O herwydd hyny, y mae efe yn air bywiocâol i eneidiau meirw, Ioan vi. 63. "Y geiriau yr ydwyf fi yn eu llafaru wrthych, ysbryd ydynt, a bywyd ydynt." Yr hâd bywiol ydyw, o'r hwn y mae y creadur newydd yn cael ei ffurfio, 1 Pet. i. 23. Fe ddarfu i Iesu Grist un waith, trwy lef yn sèinio trwy'r cymylau, lafaru gair o argyhoeddiad, Act. ix. 5. eithr hyd y nod yn yr achos hwnw, fe ddarfu i air y cynnygiad o hono ef ei hun, gael ei gadw i'r pregethiad o'r efengyl, trwy genad wedi ei bennodi i hyny, adn. 6. Ac y mae llef Crist, yn seinio yn ei air ysgrifenedig, yn fwy diogel na llef yn seinio trwy'r cymylau, 2 Pet. i. 18, 19. Y llef hon yn y gair yw sylfaen osodedig ffydd, ar yr hon y mae yn rhaid i ffydd ymddibynu am iachawdwriaeth, Rhuf. i. 16, 17. "Efengyl Crist yw gallu Duw er iachawdwriaeth, i bob un a'r sydd yn credu; canys ynddi hi y datguddir cyfiawnder Duw, o ffydd i ffydd." Ac nid oes un wir achubol ffydd, lle nad yw hi yn cael ei derbyn megis llef yr Arglwydd ei hun, 1 Thes. ii. 13. Am hyny y mae yn rhaid i chwi dderbyn gair yr efengyl, megis gair Crist ei hun, megis mewn gwirionedd y mae efe.

*Gwrth*. 2. Eithr nid yw Crist, y'ngair yr efengyl, yn fy enwi i: pa fodd gan hyny y gallaf fi gredu ei fod ef yn cynnyg ei hun, ei gyfiawnder, a'i iachawdwriaeth, i mi yn neillduol? *Ateb*. Nid yw efe ychwaith yn dy enwi di y'ngair y gyfraith, pa un bynag ai yn ei gorchymynion, neu yn ei melldith hi. Pa fodd gan hyny yr wyt ti yn dyfod i gredu dy fod yn bechadur? Ai nid am fod gorchymynion y gyfraith wedi eu cyfeirio at bob dyn, a thithau yn penderfynu ac yn credu, trwy dy fod o nifer dynolryw, eu bod am hyny yn cael eu cyfeirio atat ti yn neillduol, yn gystal ag ereill? A pha fodd yr ydwyt ti yn dyfod i gredu, dy fod di yn bennodol, dan felldith y gyfraith doredig?

Ai nid trwy fod y gyfraith yn cyhoeddi ei melldith ar bob un sydd dani hi, ac a'i tòro hi, Gal. iii. 10. Rhuf. iii. 19. ac am hyny, yn penderfynu ac yn credu ei bod hi yn dy fellditbio dithau, gan dy fod di yn un o'i thorwyr hi? Yn awr, y mae genyt ti sail ddigonol i gredu fod cynnygiad yr efengyl i ti yn neillduol, gan ei fod yn cael ei wneuthur i bawb, yn ddiwrthodiad, o'r rhai y mae yr efengyl yn dyfod atynt, Dat. xxii. 17. Esa. lv. 1. Ac fe orchymynir ei wneuthur ef i bob creadur dan y nef, Marc xvi. 15. A pha mor bechadurus bynag ydwyt, yr ydwyt yn un o'r creaduriaid hyny. Y mae lleferydd Crist at ddynion, at feibion dynion: a bydd y peth a fyddost, yr ydwyt yn un o'r pechaduriaid o ddynolryw; ac am hyny y mae y cynnygiad i ti yn bennodol, Diar. viii. 4. O ganlyniad, yr ydym wedi ein hawdurdodi i gyfaddasu y cynnygiad cyffredinol at bob un yn bennodol; ac y mae pob un wedi ei awdurdodi i'w gymhwyso ef ato ei hun, Act. xvi. 31. "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi."

*Gwrth.* 3. Eithr och! Yr ydwyf yn ofni fy mod yn ddiffygiol o gymhwysiadau darluniedig y rhai hyny y mae cynnygiad yr efengyl yn cael ei gyfeirio yn bennodol atynt. Yr ydwyf yn arswydo rhag fy mod hyd yn hyn heb y teimlad a ddylai fod o bechod: ac y mae ein Harglwydd yn dywedyd yn bendant, "Nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg, ond i'r rhai cleifion: ni ddaethum i alw rhai cyfiawn, ond pechaduriaid i edifeirwch," Mat. ix. 12, 13. Y mae cynnygiad yr efengyl yn cerdded yn yr ymadroddion hyn, "O deuwch, bob un y mae syched arno," Esa. lv. 1. "Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog," Mat. xi. 28. "A'r hwn sydd yn ewyllysio, cymmered ddwfr y bywyd yn rhad," Dat. xxii. 17. Eithr pan yr edrychwyf ar fy nghyflwr fy hun, yr

ydwyf yn ofni yn fawr, nad ydwyf hyd yn hyn, yn meddu y syched hwnw am Grist, a'r ewyllysgarwch hwnw i'w dderbyn ef, y mae y testunau hyn yn llafaru am danynt; ac nas gallaf gael fy nghyfrif yn un blinderog a llwythog mewn gwirionedd; pa fodd gan hyny y gallaf gredu fod Crist yn cynnyg ei hun i mi yn bennodol? *Ateb*. Y mae yn wirionedd hollol sicr, oddieithr fod genyt ti deimlad dyladwy o bechod, oddieithr dy fod yn sychedu am Grist a'i gyfiawnder, oddieithr dy fod yn flinderog dan y teimlad o'r llwyth o bechod, ac yn barod i gymmeryd Crist ar unrhyw ammodau, ni wnai di byth ei dderbyn ef mewn gwir ffydd. Er hyny, pa gymhwysiadau bynag yr ydwyt yn eu meddu, neu heb eu meddu, os ydwyt yn bechadur o hiliogaeth Adda, (ac yr ydwyf yn gobeithio nad ydwyt yn amau hyny,) y mae Crist yn cael ei gynnyg i ti, y'nghyd â'i gyfiawnder, a'i holl iachawdwriaeth, Diar. viii. 4. Ioan iii. 16. Marc xvi. 15. O herwydd, er bod cymhwysiadau yn angenrheidiol i dy gychwyn di at Grist, etto nid oes dim a ddichon rwystro cynnygiad yr efengyl i ti; eithr y mae Crist yn cael ei gynnyg yn wirioneddol i ti, yn mha gyflwr bynag yr ydwyt ynddo; mor wirioneddol, fel os na chredu di hyny, ac oddiar hyny dderbyn yr Iachawdwr sydd yn cael ei gynnyg, fe fydd i ti gael dy ddamnio am beidio credu, Marc xvi. 16.

Y mae yn beth nas gellir ei wadu, mai pa fwyaf annheimladwy y byddo pechaduriaid o'u pechodau, mai pellaf i gyd ydynt oddiwrth gyfiawnder; a'u bod mewn mwy o angen o Grist, ac mewn angen mwy o gael eu galw i edifeirwch. Y mae hyn yn amlwg oddiwrth rediad yr holl ysgrythyr santaidd, ac oddiwrth wir natur y peth. Am hyny, pechaduriaid yn gyffredinol, ac nid pechaduriaid teimladwy yn unig, yw y rhai a feddylir,

Mat. ix. 12, 13. Sef fel y maent yn bobl gleifion yn gyffredinol, ie, hyd y nod y rhai hyny o honynt ag y sydd mor wallgofus a meddwl nad oes un dolur arnynt, fel y mae arnynt eisieu meddyg; ac nid y cleifion hyny yn unig ag y sydd yn deimladwy o'u cyflwr a'u perygl. Hyn yw meddwl llythyrenol amlwg yr ymadrodd hwnw, oddiwrth yr hwn nid oes un angen i ymadael: ac y mae'r ymadawiad oddiwrtho yn dwyn i mewn anhawsderau amlwg.

Nid yw y syched a grybwyllir, Esay. lv. 1. ychwaith, i gael ei gyfyngu i syched grasol yn unig, sef syched am Grist a'i gyfiawnder. O herwydd, y mae rhai, o'r hyn lleiaf, o'r rhai sychedig, i'r rhai y mae y cynnyg yn cael ei wneuthur, yn *gwario arian am yr hyn nid yw fara, a'u llafur am yr hyn nid yw yn digoni.* Eithr y mae yn amlwg, nad yw pechaduriaid gwir deimladwy, sydd yn sychedu am Grist a'i gyfiawnder, yn gwario eu harian a'u llafur yn y dull hyny; eithr, i'r gwrthwyneb, am yr hyn yn unig sydd fara, ac yn digoni, sef Iesu Grist, y gwir fara a ddaeth i waered o'r nef. O herwydd paham, y syched a grybwyllir yno, a raid fod yn meddwl am, ie, ac, yn benaf yn cyfeirio at y syched hwnw am ddedwyddwch a boddlonrwydd, yr hwn, gan ei fod ef yn naturiol, sydd yn gyffredinol i holl ddynolryw. Y mae dynion, trwy fod yn boenus gan y syched hwn, yn rhedeg, yn naturiol i'w ddofi ef, at y greadigaeth wag, a'u chwantau ffiaidd: ac felly y maent yn "gwario arian am yr hyn nid ydyw fara, a'u llafur am yr hyn nid yw yn digoni;" heb gael dim yno a all ddiwallu eu hawydd na'u syched. Yn awr, i ddynion yn y cyflwr gresynol hyn, y mae cynnygiad yr efengyl o ddwfr y bywyd, yn cael ei wneuthur: y mae Crist yn cael ei gynnyg iddynt hwy fel bara, a brasder, ag sydd yn dda, ac a ddiwalla y syched poenus hwn o'u heiddo hwynt, yr hwn nis dofir byth un ffordd arall.

A'r un mor bell y mae difrifol gynnygiad yr efengyl, Mat. xi. 28. oddiwrth gael ei gyfyngu i ryw gymdeithas hennodol o ddynion, wedi eu cyrnysgaeddu â rhyw gymhwysiadau canmoladwy, yn myned dan yr enw o rai blinderog a llwythog; eithr y mae yn ddiau yn arwyddocâu yr anesmwythder naturiol sydd mewn enaid pechadurus dyn, yn *llafurio am yr hyn nid yw yn digoni*, Esay lv. 2. Fe ddarfu i'n tad Adda adael ei holl deulu, a'u cydwybodau yn llawn o euogrwydd, a'u calonau yn llawn o ddymuniadau annigonol. Yn y modd hyn, a ni wrth natur, a'n cydwybodau a'n calonau yn anesmwyth, y mae yr enaid yr un mor naturiol yn myned i lafurio am orphwysfa iddynt. Ac y mae efe yn llafurio o fewn goror y gyfraith danllyd am orphwysfa i'r gydwybod; ac yn y greadigaeth wag am orphwysfa i'r galon. Eithr, ar ol y cwbl, y mae y gydwybod er hyny, yn llwythog o euogrwydd, pa un a oes ganddi un teimlad byw o hyny ai peidio; ac y mae y galon yn wastadol dan lwyth o ddymuniadau annigonol. Felly, nis gall y naill na'r llall gael gwirioneddol orphwysdra. Hyn yw cyflwr naturiol pob dyn. A'r enaid yn y modd hyn yn flinderog ac yn llwythog, y mae Iesu Grist yn galw, fel y byddo iddynt *ddyfod ato ef, a chael gorphwysdra;* sef, gorphwysdra i'w cydwybodau, dan gysgod ei waed ef; a gorphwysdra i'w calonau, yn y mwynhad o Dduw, trwyddo ef. Yr ydym yn cael ein tywys i'r deongliad hwn gan iaith yr ysgrythyr, sef ymadroddiad yr Ysbryd Glân, yn yr Hen Destament a'r Newydd; yr hyn a ellir ei weled yn y testynau canlynol, wrth eu cymharu, sef, Preg. x. 15. Heb. ii. 13. Esay lv. 2. a'r i. 3, 4. 2 Tim. iii. 6, 7.

Yn ddiweddaf, O ran yr ewyllysgarwch yr ydych yn ofni eich bod yn ddiffygiol ynddo; yn ddiau, y'mhob achosion ereill, fe fydd i'r hwn a

ddywedo, Pwy bynag a ewyllysio, cymmered y cyfryw beth, gael ei ddeall, yn ol synwyr a dealldwriaeth cyffredinol y fath eiriau, ei fod yn cynnyg y cyfryw beth i bawb, ac nad yw yn cauad neb allan oddiwrtho; pa fodd bynag y dichon iddo oddef yr arwyddiad, nad yw efe i gael ei ddirgymhell ar neb. Paham gan hyny y bydd i'r dull hyn o ymadrodd, Dat. xxii. 17. gael ei olygu yn cyfyngu cynnygiad yr efengyl i ryw gymdeithas bennodol o ddynion?

O herwydd paham, yr ydym yn penderfynu, nad yw Crist yn gosod un rhwystr ar ffordd neb o honoch: na osodwch chwi rwystrau ar eich ffordd eich hunain, ac yno achwyn nas gallwch fyned drostynt hwy. O herwydd, yn ol yr ysgrythyr santaidd, y mae yn wirionedd sicr, fod Crist yn cael ei gynnyg i chwi, ac i bob un o honoch chwi, yn bennodol: credwch hyny, ac onidê yr ydych yn *gwneuthur Duw yn gelwyddog*, 1 Ioan v. 10.

### III. Y grediniaeth o'n hawl i Grist.

Y'mhellach, y mae yn rhaid i chwi gredu mai Iesu Grist yw Iachawdwr y byd, a'ch Iachawdwr chwi yn bennodol, trwy osodiad ei Dad, a'i gynnygiad ei hun; a thrwy yr un gosodiad a chynnygiad, bod ei gyfiawnder ef, ac ammod y cyfammod, a bywyd tragywyddol, ac addewidion y cyfammod, yn eiddo i chwi; yn eiddo i chwi (meddaf, nid mewn meddiant, eithr) mewn hawl iddynt, mor bell fel y gallwch chwi yn gyfreithlon ac yn warantadwy gymmeryd meddiant ynddynt, a'u defnyddio fel eich heiddo eich hunain, i bob amcan a dyben er iachawdwriaeth, Ioan iv. 42. "Ni a wyddom mai hwn yn ddiau yw y Crist, Iachawdwr y byd." 2 Sam. xxii. 3. a Luc i. 47. *Fy Iachawdwr*. Na feddyliwch fod hyn yn ormod i chwi: nid yw ef ddim mwy nag y sydd yn angenrheidiol er ffydd achubol yn Nghrist. Os na

chredwch, ond yn unig yn gyffredinol, mai Crist yw Iachawdwr y byd, ac heb gredu ei fod ef yn Iachawdwr i chwi yn neillduol, pa beth yr ydych chwi yn ei gredu yn fwy nag y mae y cythreuliaid yn ei gredu? Y maent hwy yn credu ei fod ef yn Iesu, yr Iachawdwr, Marc i. 24. Os ydych yn dymuno myned yn mhellach na hwynt, y mae yn rhaid i chwi gredu ei fod ef yn Iachawdwr i chwi; ac o ganlyniad, fod ei gyfiawnder a'i iachawdwriaeth ef yn eiddo i chwi, yn yr ystyr a ddangoswyd o'r blaen: o herwydd, lle y mae Crist yn cael ei roddi, y mae pob peth yn cael eu rhoddi gydâg ef, yn rhad. Ac, adolwg ystyriwch, pa fodd y gallwch chwi ei gymmeryd ef, neu ei dderbyn ef megis eich Iachawdwr chwi, os nad yw efe yn eiddo i chwi mewn gwirionedd? Fe all dyn yn ddichellgar gymmeryd meddiant o'r hyn nad yw efe yn credu ei fod yn eiddo cyfiawn iddo; eithr nis gall un dyn, yn deg ac yn gyfiawn, hòni hawl a chymmeryd meddiant yn yr hyn nad yw efe yn credu ei fod yn eiddo iddo. Yn ddiau, y mae yn rhaid i Dduw roddi Crist i ni, cyn y gallom ni ei dderbyn ef, o herwydd "Ni ddichon dyn dderbyn dim, oni bydd wedi ei roddi iddo o'r nef," Ioan iii. 27. Y mae rhoddi o du Duw, a derbyn o'n tu ninau, yn hyn yn gyd-berthynasau: a'r blaenaf yw sylfaen yr olaf. Yn awr, y mae rhoddiad Duw, yn ddigonol i wneuthur unrhyw beth yn eiddo i ni: gan hyny, credwch yn ddiysgog fod Crist yn Iachawdwr i chwi yn bennodol; bod ei gyfiawnder yn eiddo i chwi, a bywyd tragywyddol yn eiddo i chwi.

*Gofyn*. Eithr pa fodd y gallaf fi, bechadur tlawd, dan y felldith wrth natur, gredu fod Crist yn Iachawdwr i mi; bod ei gyfiawnder ef, a bywyd tragywyddol, yn eiddo i mi? *Ateb*. Tydi a elli gredu hyny, o herwydd bod gair a thystiolaeth y Duw tragywyddol gennyt am hyny, yn ei efengyl

gantaidd. Pa beth yw yr efengyl, yr hon y darfu i'r apostolion gael eu hanfon i'w thystiolaethu hi yn enw yr Arglwydd? Y mae yr apostol Ioan yn hysbysu hyny, 1 Ioan iv. 14. "Yr ydym yn tystiolaethu, ddarfod i'r Tad ddanfon y Mab i fod yn Iachawdwr i'r byd." Onid yw Iesu Grist gan hyny, yn ol swydd, pa beth bynag ydyw mewn canlyniad, yn Iachawdwr y byd? Os ydyw efe felly, a thithau yn un o'r byd hwnw o ddynolryw, a ydyw efe gan hyny, ddim yn Iachawdwr i ti? Paham gan hyny nas credu di hyn? Fe ddarfu i Dduw ddanfon yr haul yn yr wybren, i fod yn oleuni i'r byd: ac onid wyt ti gan hyny, yn barnu fod genyt ti hawl i oleuni yr haul, yn gystal a'r lleill o ddynolryw; ac yn ganlynol yn ei ddefnyddio ef yn rhwydd, i weithio neu i ddarllen wrtho, megis dy eiddo dy hun, trwy rad rodd Duw? Yn yr un modd, Iesu Grist yw *goleuni y byd*, Ioan viii. 12. *Wedi ei roddi yn oleuni i'r cenedloedd*, Esa. xlix. 6. Ac y mae ffydd yn ei neillduo ef iddi ei hun, gan ddywedyd, "Yr Arglwydd yw fy ngoleuni a'm iachawdwriaeth," Psal. xxvii. 1. Yn awr, yr ydwyt ti yn aelod o'r gymdeithasau hyny, sef, y byd a'r cenedloedd: gan hyny, y mae efe yn oleuni i ti, hyny yw, wedi ei roddi i fod yn oleuni i ti. A gymmeri di air Crist ei hun am hyny? y mae efe genyt, Ioan vi. 32. "Fy nhad sydd yn rhoddi i chwi y gwir fara o'r nef." Os rhydd dy gymmydog i ti fara, tydi a gyfrifi ei roddiad ef o hono, yn ddigonol i'w wneuthur ef yn eiddo i ti, ac felly ti a'i bwytâi ef yn rhwydd. Pe y byddai i'th dywysog roddi i ti dŷ neu dir, y rhai y byddai ganddo ef hawl ddiamheuol i'w rhoddi; tydi a'u cyfrifit hwynt yn eiddo gwirioneddol i ti, trwy ei roddiad ef; ac a ait yn rhwydd i breswylio yn y tŷ hwnw, ac a feddiannit y tir hwnw, megis dy eiddo dy hun. Pa fodd gan hyny, pan y mae y Tad yn rhoddi ei Grist i ti,

nad ydwyt yn credu ei fod ef yn eiddo i ti, nac yn cymmeryd meddiant o hono fel dy eiddo dy hun? Y mae gwirionedd yr achos yn gynnwysedig yn hyn; yr ydwyt yn credu dy gymmydog, yr ydwyt yn credu dy dywysog; eithr nid ydwyt yn credu dy Dduw, yn ei efengyl santaidd, ond *yn ei wneuthur ef yn gelwyddog, oblegid na chredaist y dystiolaeth a dystiolaethodd Duw am ei Fab,* 1 Ioan v. 10. Eithr pa un bynag a'i chredu hi, ai peidio a wnai di, y mae yn wirionedd, fod Crist yn Iachawdwr i ti: ac os na wnai di gredu hyn yn awr, er dy iachawdwriaeth, tydi a gai yn ddi-ddadl weled dy gamsyniad ar ol hyn; pan y byddo ti yn cael dy ddyfetha, tydi a gai dy argyhoeddi nad ydwyt yn cael dy ddyfetha o eisieu Achubwr, ond o herwydd i ti esgeuluso gwneuthur defnydd o hono ef.

Yn yr un modd, y mae cyfiawnder Crist yn eiddo i chwi, sef yr hwn a gyflawnodd efe fel ammod y cyfammod. Y mae efe yn eiddo i chwi trwy roddiad y nef, wedi ei roddi i chwi gydâg ef; ac am hyny, yn cael ei alw *yn ddawn cyfiawnder*, Rhuf. v. 17. Rhodd gymuniaethol ydyw, wedi ei gwneuthur drosodd i chwi yn llythyr-cymun Crist, yn yr hwn y mae pechaduriaid o ddynolryw, yn ddiwrthodiad, yn gymunnderbynwyr, megis yr eglurwyd o'r blaen. Y mae bywyd tragywyddol yn aurheg neu gymunrodd arall o'r un fath: felly y mae efe yn eiddo i chwi hefyd. Y mae genych gof'sgrifen, a thystiolaeth Duw ei hun ar y mater, ei fod wedi ei roddi i chwi, 1 Ioan v. 11. "A hon yw y dystiolaeth; roddi o Dduw i ni fywyd tragywyddol: a'r bywyd hwn sydd yn ei Fab ef." A ydyw tystiolaeth Duw ei hun ddim yn sail ddigonol i gredu? A anturiwch chwi i'w hangredu hi, ar unrhyw gyfrif pa beth bynag? Yma y mae genych y dystiolaeth hono, sef, *Rhoddi o Dduw i ni fywyd trag-*

*ywyddol.* Fe allai y dychymygwch chwi, nad yw hyn yn perthyn ond yn unig i wir gredinwyr yn Nghrist, neu o fwyaf, i'r etholedigion; ac y defnyddiwch hyny er amddiffyn eich anghrediniaeth: eithr, yr ydwyf yn deisyf arnoch ystyried, hyn yw y sylfaen a'r warant i bawb gredu yn Nghrist, ac i gymmeryd gafael ar y bywyd tragywyddol ynddo ef; gan ei bod hi yn "dystiolaeth Duw, yr hon a dystiolaethodd efe am ei Fab," i gael ei derbyn gan bawb y byddo yr efengyl yn dyfod atynt, adn. 9. Eithr nis gall fod gwaith Duw yn rhoddi bywyd tragywyddol i rif bennodol o bobl ddetholedig, byth mewn rheswm, gael ei dybied yn warant i bob dyn i gredu. Yn mhellach, y mae y pechod mawr o anghrediniaeth yn gorwedd mewn peidio credu'r dystiolaeth hon: eithr nid yw yn gorwedd mewn peidio credu i Dduw roddi bywyd tragywyddol i wir gredinwyr, neu i'r etholedigion; o herwydd, y mae yr anghredinwyr mwyaf diobaith yn credu hyny, yn gymmaint fel y mae eu crediniaeth yn ychwanegu eu poen hwynt: eithr y mae yn gorwedd yn eu gwaith yn peidio credu mai i bechaduriaid o ddynolryw, ac iddynt hwy eu hunain yn bennodol, y rhoddodd Duw fywyd tragywyddol. Hyn yw y peth sydd yn ymwneud yn erbyn efengyl Duw, yr hon sydd yn cyhoeddi y rhoddiad a'r anrhegiad o Grist, a'i holl gymmwynasau, i bechaduriaid o ddynolryw, gan fynegu fod yr anrhegiad o hyny yn cael ei wneuthur iddynt hwy, ac yn galw arnynt i gymmeryd meddiant o'r unrhyw iddynt eu hunain, Esa. 9. 6. "Bachgen a aned i ni," (y mae y gair yn arwyddo *genedigaeth gyflwynedig*, o ran yr hawl bennodol oedd i'w berthynasau ynddo ef; megis y cafodd plant Machir eu cyflwyno i Joseph, a'u gosod ar ei liniau ef, Gen. 50. 23. a mab Ruth i Naomi, Ruth 4. 17.) "Mab a roddwyd i ni." Ioan iii. 16. "Felly y carodd Duw y

byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." 1 Cor. i. 30. "Crist Iesu, yr hwn a wnaethwyd i ni gan Dduw, (sef trwy gyfreithiol osodiad) yn ddoethineb, ac yn gyfiawnder, ac yn santeiddrwydd, ac yn brynedigaeth."

Yn y modd hyn, chwi a welwch fod genych sylfaen anffaeledig i'r gweithrediad hwn o eiddo ffydd, sef tystiolaeth y digelwyddog Dduw. O herwydd paham, megis y dymunech fod wedi eich uno â Christ, ac felly gael eich gosod yn y cyfammod, credwch yn gadarn fod Crist yn eiddo i chwi, ei gyfiawnder ef a bywyd tragywyddol yn eiddo i chwi.

Y mae hwn yn gymhwysiad agosach o eiddo ffydd na'r un blaenorol; ac yn deilliaw o hono ef: o herwydd, yn y modd hyn y mae un yn credu effeithiolddeb y gosodiad Dwyfol, a chynnygiad yr efengyl. Os yw Duw yn pennodi Crist yn Waredwr i chwi y'nghyd a'i gyfiawnder, a bywyd tragywyddol; a Christ yn cynnyg ei hun i chwi yn gyfatebol i hyny; y mae yn rhaid yn ddiau mai canlyniad y gosodiad a'r cynnygiad hwnw yw, eu bod yn eiddo i chwi mewn gwirionedd, i gael eu defnyddio genych fel eich eiddo eich hunain, er eich iachawdwriaeth. Os ydych yn credu y gosodiad hwnw o eiddo y Tad, a'r cynnygiad o eiddo'r Mab, y mae yn rhaid i chwi o angenrheidrwydd gredu hyn: o herwydd, os ydynt yn weithredoedd diffuant, ac nid yn rhai lledrithiol, y maent yn ddiau yn trosglwyddo i chwi hawl i Grist, ei gyfiawnder a'i iachawdwriaeth; felly, fel trwy eu rhinwedd hwynt, y mae yn rhaid bod y rhai hyn yn eiddo i chwi, i'w honi a'u defnyddio yn gyfreithlon genych megis eich eiddo eich hunain, er eich iachawdwriaeth. Nid ydys yn ameu nad yw gweithred o roddiad o eiddo dynion, a'u

cynnygiadau, y rhai a fyddo yn ddiffuant ac nid yn lledrithiol, yn rhoddi hawl i'r personau y gwnaethwyd hwynt iddynt. Os bydd i gyfaill i chwi, yr hwn y mae ganddo swm o arian yn gorwedd mewn llaw cymmydog iddo, bennodi a gosod y swm hòno, yn enwedigol, trwy weithred ysgrifenedig o dan ei law ei hun, i chwi, i'ch rhyddhau chwi o ryw gyfyngder pennodol; ni byddai un amheuaeth ynoch nas gallech fyned a hòni hawl iddi, a'i chodi hi: os byddai iddo gynnyg y swm i chwi o'i law ei hun, megis rhodd, ni byddai un amheuaeth ynoch nas gallech ei derbyn hi; ac yn mhob un o'r amgylchiadau hyn ei defnyddio hi megis eich eiddo eich hun, trwy osodiad a chynnygiad eich cyfaill. Ac a gaiff gosodiad a phennodiad y Tad, a chynnygiad Crist, ddim bod mor ddiffuant? Paham gan hyny nas credwch chwi ei ddiledrithrwydd ef? Paham na chredwch chwi fod Crist, y'nghyd a'i gyfiawnder a bywyd tragywyddol, yn eiddo i chwi?

Mewn gwirionedd, y grediniaeth o hyn yw yr unig gam nesaf i undeb yr enaid â Christ: ac am hyny y mae efe yn cael ei gynnyg i'r pechadur, megis y moddion agosaf i'w ddwyn ef yn agos at Dduw yn Nghrist, Hos. xiv. 1. "Ymchwel at yr Arglwydd dy Dduw:" dy Dduw di yw efe, y mae genyt hawl iddo ef; *ymchwel*, dere hyd ato ef, cymmer feddiant o hono ef fel dy Dduw dy hun. Yn gyfatebol i hyn, y mae y pechadur sydd yn dyfod ato ef trwy ffydd, yn dyfod ar yr unig sylfaen hon, Jer. iii. 22, 23. "Wele ni yn dyfod atat ti; oblegid ti yw yr Arglwydd ein Duw. Diau fod iachawdwriaeth Israel yn yr Arglwydd ein Duw ni." Megis yr agorwyd llygaid Agar mewn pryd, i weled bod ffynon yn ei hymyl, pan yr oedd hi wedi rhoddi ei mab i fynu i farw: felly, pan y mae y pechadur yn gorwedd yn y clwyfau marwol, a roddodd y gyfraith iddo yn ei argyhoeddiad, y

mae ysbryd ffydd yn agor ei lygaid ef, trwy yr efengyl ogoneddus, mewn llewyrchiad achubol, fel y mae efe yn gweled fod ganddo Achubwr, a chyfiawnder, a iachawdwriaeth. Yna y mae efe yn ddioed yn ymaflyd ynddynt, megis ei eiddo ei hun. Yn y modd hyn, fe gredodd yr afradlon, yn gyntaf, fod ganddo etto dad, a thy ei dad, yn yr hwn yr oedd gwala a gweddill, ac yno efe a gododd ac a aeth ato ef, Luc xv. 17, 18.

*Gwrth.* 1. Os gwirionedd yw, fod Crist yn Iachawdwr i mi, fod ei gyfiawnder ef, a bywyd tragywyddol yn eiddo i mi, yn hyn mi a allaf fod yn esmwyth y caf fy achub yn ddiau, heb un drafferth am hyny mwy. *Ateb.* Nid yw hyna ond traws-ddadlu, sydd yn fwyaf cyfatebol i'r rhai hyny sydd yn ddiofal am Grist a'i iachawdwriaeth; ac yn meddwl nad yw yn werth eu llafur mewn modd difrifol i ystyried am y fath beth. Yn hytrach, fe ddywedai un a fyddai yn pwyso y mater yn wirioneddol, ac yn ystyried y peth mewn modd dyladwy, wedi ei ddwyn i gredu hyn, "Gan fod Crist mewn gwirionedd yn eiddo i mi, ei gyfiawnder ef, a bywyd tragywyddol, yn eiddo i mi; mi a'i cymmeraf ef i mi, mi a'i derbyniaf ac a ymorphwysaf arno fel fy Iachawdwr, mi a bwysaf ar ei gyfiawnder ef, ac a ddysgwyliaf am fywyd tragywyddol trwyddo ef: paham y byddaf yn golledig byth, gan fod i mi gyfiawn Iachawdwr? Paham y byddaf yn noeth, gan fod cyfiawnder cyflawn wedi ei gyfrannu i mi, trwy roddiad y nef? Paham y byddaf marw, pan y mae bywyd tragywyddol i mi yn Nghrist?" Gosodwch yr achos, eich bod wedi gweled dyn yn mron marw o eisieu bara; ac i chwi oddiar gareiddiwch a thosturi ato, bennodi a threfnu ymborth iddo ef, o'ch ystôr eich hunan, er achub ei fywyd ef; ac hefyd ei ddwyn ef ato, a'i osod ger ei fron ef, gan ddywedyd, Dyma ymborth yr hwn a

drefnodd fy nhad a minnau i chwi; bwytewch, a'ch groesaw. Os dywedai y dyn hyny, Och! nis gallaf fi ei gymmeryd ef, canys nid fy eiddo i ydyw; oni ddywedech chwi wrtho ef, fod eich rhoddiad, trefniad, a'ch cynnygiad chwi o hono iddo ef, yn ei wneuthur yn eiddo iddo; felly, fel y gallai efe gyda chydwybod rydd ei fwyta ef yn rhwydd fel ei fara ei hun? Eithr os atebai efe drachefn, a dywedyd, Gan hyny, os fy eiddo i ydyw, yr ydwyf wedi fy niogelu rhag newynu, heb drafferthu dim mwy yn ei gylch ef; nid rhaid i mi fyned i'r drafferth o'i dderbyn a'i fwyta ef; a gyfrifech chwi ddim o hono ef, un ai yn wallgof neu yn cellwair â chwi, yn anwybodus o'r perygl o newynu? Y mae y cymhwysiad yn amlwg. Nid bod dyn yn feddiannol ar ymborth o'i eiddo ei hun, fel y gallo efe fwyta o hono yn rhad fel y cyfryw, a'i ceidw ef rhag newynu: eithr y mae yn rhaid iddo ei gymmeryd ef a bwyta o hono, ac felly ei ddefnyddio ef fel ei eiddo ei hun, os ewyllysia efe gael yr elw hyny oddiwrtho. Yn yr un modd, nid bod Crist, y'nghyd â'i gyfiawnder a'i iachawdwriaeth, yn eiddo i chwi, a'ch achub chwi; eithr y mae yn rhaid i chwi gymmeryd meddiant ynddo, a gwneuthur defnydd o hono fel eich eiddo eich hunain, er iachawdwriaeth, os ewyllysiwch gael eich cadw mewn modd sicr trwyddo ef. Y mae gwahaniaeth mawr rhwng bod peth yn eiddo i ni mewn hawl iddo, a'i fod ef yn eiddo i ni mewn meddiant o hono. Yn y ffordd flaenaf yn unig y mae Crist yn eiddo i chwi, cyn eich undeb âg ef, trwy ffydd: ac os na wnewch rinweddu hyn i chwi eich hunain, trwy ei dderbyn ef a chymmeryd meddiant o hono, chwi a drengwch yn dragywyddol er hyn oll, Heb. iv. 1. "Ofnwn gan hyny, gan fod addewid wedi ei adael i ni i fyned i mewn i'w orphwysfa ef, rhag bod neb o honoch yn debyg i fod yn ol." Luc xvi. 12. "Ac oni buoch ffyddlon yn yr eiddo arall, pwy a rydd i chwi yr eiddoch eich hun?"

*Gwrth.* 2. Eithr y mae Crist y Iachawdwr, ei berffaith gyfiawnder, a bywyd tragywyddol, yn bethau mor rhagorol fawr a gwerthfawr, a minnau mor hynod o bechadurus ac annheilwng, fel y mae yn beth hynod o anhawdd i mi i gredu eu bod yn eiddo i mi. *Ateb.* Felly y mae, yn hyn yn ddiau y mae yr anhawsdra mawr i gredu, yn gynnwysedig; pan yr agorir llygaid y pechadur, i weled rhagorol ardderchawgrwydd Crist, a dirfawr bechadurusrwydd pechod, ynghyd â'i hollol annheilyngdod ei hun; y mae anhawsdra yn cyfodi, nas gellir myned drosto, ond trwy nerthol weithrediad ysbryd ffydd, yn peri i un "gredu, yn ol gweithrediad nerth ei gadernid ef," Eph. i. 19. Eithr, er cynnorthwy i chwi, ystyriwch, y maent yn eiddo i chwi trwy rodd hollol rad; yr hyn sydd mor bell oddiwrth geisio un teilyngdod yn y creadur, fel y mae yn cauad allan bob golygiad ar hyny. Y mae Crist ei hun yn rhodd y Tad i chwi, Ioan iv. 10. a'r vi. 32. Y mae ei gyfiawnder ef yn rhodd hefyd, Rhuf. v. 17. ac felly y mae bywyd tragywyddol ynddo ef, 1 Ioan v. 11. Yn awr, pa beth sydd mor rhad a rhodd? Ac er ei bod yn ddiau yn rhodd sydd yn mhell uwchlaw dim a allasech chwi ei ddysgwyl, etto nid ydynt yn ormod i'r anfeidrol Dduw i'w rhoddi. Yn ei waith yn rhoddi y rhodd hon, nis gweithredodd yn ol urddas y personau y gwnaeth efe hyn er cymmwynas iddynt, eithr yn ol ei urddas, ei fawredd, a'i ardderchawgrwydd ei hun: ac er bod y rhodd yn hollol uwchlaw eich urddas chwi, etto nid yw hi ddim yn fwy nâg y mae eich angen yn galw am dano. Pe y buasai llai yn cyfateb i'ch angen chwi, nid oes un sail i feddwl y buasai Crist croeshoeliedig, Mab Duw, yn cael ei ddarparu i chwi. Os ydych ond yn tybied y gallasai, yr ydych yn llygru yr ymadrodd hwnw am anghymharol gariad, Ioan iii. 16. "Felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig

Fab." Am hyny, ymresymwch â chwi eich hunain yn y modd hyn: "Y mae y rhodd, yn wir, yn un annhraethol, eithr nis gall llai fod yn ddigon ar gyfer fy angen i; os na bydd Crist yn eiddo i mi, y mae yn rhaid i mi drengu: am hyny, gan i Dduw ddywedyd iddo roddi Crist i mi, ac nid yw y rhodd ddim yn fwy nâg y gall efe ei rhoddi; a chan na all dim yn llai wneud y tro i mi, y mae yn rhaid, ac mi a gredaf ei fod ef yn eiddo i mi, y'nghyd â'i gyfiawnder a'i iachawdwriaeth."

## IV. Y grediniaeth o neillduol ymddiried am iachawdwriaeth.

Yn ddiweddaf, Y mae yn rhaid i chwi ymddiried yn hollol ynddo ef fel eich Iachawdwr, ac yn ei gyfiawnder ef megis wedi ei wneuthur drosodd i chwi; a hyny, er cyflawn achubiaeth o'i eiddo ef, arnoch chwi yn bennodol, ar sylfaen ffyddlondeb Duw yn ei air. Hon yw y ffydd achubol hòno, neu y credu yn Iesu Grist, trwy yr hwn y mae y pechadur yn cael ei uno ag ef, ac yn cael ei osod yn bersonol o fewn y cyfammod gras, er iachawdwriaeth, Act. xvi. 31. "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi." Psal. ii. 12. "Cusenwch y mab rhag iddo ddigio—Gwyn eu byd pawb a ymddiriedant ynddo ef." A'r xxxvii. 40. "Efe a'u gwared hwynt—am iddynt ymddiried ynddo," Rhuf. xv. 12. "Ynddo ef y gobeithia y cenhedloedd." Cymharwch Esa. xi. 10. Rhuf. i. 17. "Ynddi hi y datguddir cyfiawnder Duw o ffydd i ffydd;" *neu ynddi hi y mae cyfiawnder Duw trwy ffydd, yn cael ei ddatguddio i ffydd,* sef, i'w gredu ac i ymddiried ynddo. Phil. iii. 9. Gal. ii. 16. "Ninnau hefyd a gredasom yng Nghrist Iesu, fel y'n cyfiawnhâer." Act. xv. 11. "Eithr trwy ras yr Arglwydd Iesu Grist, yr ydym ni yn credu ein bod yn gadwedig," 1 Thes. ii. 13. "I chwi—ei dderbyn ef nid fel gair dyn, eithr (fel y mae yn wir) yn air Duw," 1 Cor. ii. 5. "Fel na byddai

eich ffydd mewn doethineb dynion, ond mewn nerth Duw." Hyn yn ol yr ysgrythyr, yw *derbyniad* y pechadur o *Grist*, a'i *orphwysiad ef arno am iachawdwriaeth*, megis y mae ffydd achubol yn cael ei darlunio yn ein Hegwyddor-lith: (*Catechism:*) a hyn yw credu yn wir, a dim ond credu, yn ol yr arferiad ysgrythyrol o'r gair hwnw.

1. Yr ydwyf yn dywedyd, mai hwn yw yr ymorphwysiad ysgrythyrol ar, a'r derbyniad o Grist. Y derbyniad o hono ef ydyw yn ol meddwl yr ysgrythyr, Ioan i. 12. "Cynnifer ag a'i derbyniasant ef, efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw, sef i'r sawl a gredant yn ei enw ef:" lle y dangosir mai y derbyniad o Grist yw credu yn ei enw ef. Fe osododd Duw Grist yn Iachawdwr y byd, a'ch Iachawdwr chwithau. Yr ydych yn clywed hyny yn cael ei gyhoeddi yn yr efengyl; ac yr ydych yn credu yn ol hyny mai efe yw eich Iachawdwr chwi, trwy osodiad y Tad, a'i gynnygiad ei hun: oddiar hyn yr ydych yn ymddiried ynddo ef, ac ynddo ef yn unig, am iachawdwriaeth, a'r cwbl sydd yn eisieu arnoch er eich iachawdwriaeth. A ydyw hyn ddim yn dderbyniad o hono ef, o'ch rhan chwi, yn enw Gwaredwr, dan yr hwn yr anfonodd ei Dad ef i chwi? A ydyw hyn ddim yn gymmeriad o hono ef i chwi eich hunain, megis y mae efe yn cael ei gynnyg i chwi? Y mae ein Harglwydd yn achwyn ar yr Iuddewon, Ioan v. 43. gan ddywedyd, pan *ddaethum yn enw fy Nhad, nid ydych yn fy nerbyn i;* sef, yn yr enw yr anfonwyd ef ynddo, hyny yw, megis y Messiah, Iachawdwr y byd, a'u Iachawdwr hwythau, gan ymddiried ynddo, yr achubai efe hwynt. Y mae yn ymddangos yn amlwg mai hyn yw y meddwl, os cymharir y geiriau canlynol â'r rhai a goffawyd: *Os arall a ddaw yn ei enw ei hun, hwnw a dderbyniwch:* megis pe buasai yn dywedyd, "Chwi a gredwch mai efe yw y Messiah, a'ch Iachawdwr chwi, ac a ymddiriedwch ynddo ef, y

gwared efe chwi yn gyfatebol i hyny;" yr hyn a wiriwyd amryw weithiau yn y bobl anghrediniol hyny. Yn mhellach, y mae hyn yn *orphwys* ar Grist, yn ol meddwl ysgrythyrol y dull hyny o ymadroddi, Esa. xxvi. 3. "Ti a gedwi mewn tangnefedd heddychol yr hwn sydd a'i feddylfryd arnat ti; am ei fod yn ymddiried ynot." Ac yn wir, nis gall un ddyfeisio pa ffordd y gall dyn orphwys ar air, neu enaid, neu ysbryd orphwys ar berson, ond trwy eu coelio hwynt, neu ymddiried iddynt neu ynddynt. Fe ddywedir yn 2 Cron. xxxii. 8. "A'r bobl a hyderasant, [*saesonaeg a orphwysasant,*] ar eiriau Hezeciah." Pa ffordd y gall un ddychymygu iddynt wneuthur felly, ond trwy ymddiried ynddynt? Pen. xiv. 11. "Cynnorthwya di ni, O Arglwydd ein Duw; canys pwyso yr ydym ni arnat ti." Pa fodd y gallasent wneuthur felly, ond trwy ymddiried ynddo ef am gynnorthwy?

2. Hyn yw credu yn ol yr arferiad ysgrythyrol o'r gair hwnw, yr hwn, ar ein gwaith yn myned i mewn i'r gofyniad sydd dan ein sylw, a osodwyd i lawr genym o'r ysgrythyr ei hun. O herwydd ymddiried i, neu ymddiried mewn person ydyw, sef, Iesu Grist, a Duw ynddo ef, gwrthddrych personol ffydd achubol, Act. xvi. 31. Ymddiried mewn *peth*, sef cyfiawnder Crist, gwrthddrych eithaf diledrith ffydd; ac ymddiried mewn *gair*, sef, coflyfr a thystiolaeth Duw, gair addewid yr efengyl, y gwrthddrych gwirioneddol cyfagosaf neu nesaf i ffydd, Rhuf. i. 17. a hyn i gyd i'r dyben mawr o iachawdwriaeth. Ac am hyny nid yw yn ddim ond y cyfryw gredu: o herwydd yn y modd hyn nid yw ffydd yn cael ei deongli yn weithredoedd, eithr yn beth hollol wahanol i hyny, megis y mae yr ysgrythyr yn gwrthwahanu gweithredoedd oddiwrth ffydd.

O herwydd paham, yr ydym yn penderfynu, mai yr ymddiried hwn, yw y credu hyny yn

Nghrist, trwy yr hwn y mae yr enaid yn cael ei uno âg ef, a'i osod yn achubol yn y cyfammod. I'r dyben o'i amlygu ef, nyni a gymmerwn sylw ar y pum peth hyn a ganlyn, sydd mewn modd amlwg yn gynnwysedig ynddo.

1. Y mae yr ymddiried hwn yn cynnwys, nid yn unig ewyllysgarwch, eithr dymuniad cywir a didwyll hefyd, am waredigaeth oddiwrth bechod a'r digofaint; dymuniad am eu santeiddio, yn gystal a'u cyfiawnhau; dymuniad am eu gwared o dan awdurdod lywodraethol pechod, yr ymarferiad, yr halogiad, a'r bod o hono; yn gystal a'u gwared oddiwrth ei euogrwydd ef; yn ol hyny o eiddo yr apostol, Rhuf. vii. 24, 25. "Pwy a'm gwared i oddiwrth gorff y farwolaeth hon? Yr wyf fi yn diolch i Dduw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd." O herwydd, y mae efe yn ymddiried i Grist, nid am hanner ei iachawdwriaeth ef, sef gwaredigaeth oddiwrth y digofaint yn unig, (yr hyn yw holl ymddiried amryw, heb fod mewn un modd yn dymuno ymadael a'u pechodau,) eithr am yr oll o honi, hyny yw, gwaredigaeth oddiwrth y digofaint, a gwaredigaeth oddiwrth bechod hefyd, yr hyn yw y rhan benaf o honi, Mat. i. 21. Yn awr, fe ddichon dyn yn ddiau ofni y peth hwnw oddiwrth un, yr hwn nad yw efe yn ei ddymuno: eithr nid oes neb yn ymddiried mewn un am y peth hwnw nad yw efe yn ei ddymuno. Ffydd yw *credu a'r galon,* Rhuf. x. 10. Holl iachawdwriaeth Crist yw dewisiad y credadyn; hyny yw y dyben y mae efe yn amcanu ato; ac y mae ymddiried ffydd yn cael ei osod mewn ymarferiad egniol, fel moddion i gyrhaedd y dyben hwnw.

2. Ymwrthod yn hollol â phob hyder yn mhob peth, ond Crist, a'r hyn sydd ynddo, o ran deffnydd iachawdwriaeth yn neillduol. Y mae hunan-ymddiried, ymddiried yn y gyfraith, ac ymddiried yn y creadur, yn cael eu dymchwelyd trwy yr ymddiried hwn, ac y mae yr enaid yn adeiladu

ar sylfaen hollol newydd, Phil. iii. 3. "Yn gorfoleddu yn Nghrist Iesu, ac nid yn ymddiried yn y cnawd." Jer. xvi. 19. "Atat ti y daw y cenedloedd—ac a ddywedant, Diau mai celwydd a ddarfu i'n tadau ni ei etifeddu, oferedd, a phethau heb les ynddynt." O herwydd y mae hwn yn ymddiried yn Nghrist a'i gyfiawnder, yn hollol, *ymddiried* neu *gredu a'r holl galon,* Diar. iii. 5. Act. viii. 37. Yn y dull hyn, y mae y credadyn yn cael ei gymmeryd ymaith oddiwrth weithredoedd y ddeddf, at waed Crist, am gyfiawnhad; a'i ddwyn allan o hono ei hun hefyd, at Ysbryd santeiddiad yn Nghrist, am ei santeiddhad: gan fod wedi ei berswadio i gredu, nas gall un gweithio na dyoddef o'i eiddo ef ei hun, ennill iddo ef y maddeuant o, neu roddi iawn am y gradd lleiaf o euogrwydd; ac nad yw efe yn alluog i farweiddio yn wirioneddol un chwant, mwy nag i symud ymaith euogrwydd pechod, Mat. v. 3. Esa. xlv. 24.

3. Cymmeradwyad bywiog o ddyfais neu drefn yr iachawdwriaeth, yn ol y cyfammod, sydd yn cael ei hamlygu yn yr efengyl, megis peth yn cyfateb i'r perffeithiau Dwyfol, a chyflwr pechaduriaid, a'i gyflwr ei hun yn neillduol, 1 Cor. i. 23, 24. "Eithr nyni ydym yn pregethu Crist wedi ei groeshoelio, i'r Iuddewon yn dramgwydd, ac i'r Groegwyr yn ffolineb; ond iddynt hwy y rhai a alwyd, Iuddewon a Groegwyr, yn Grist gallu Duw, a doethineb Duw." Heb hyn, ni wna un dyn, sydd yn gwybod beth yw Duw, pa beth yw pechod, a pha beth yw gwerth ei enaid ei hun, byth anturio ei achubiaeth arni hi: eithr y mae yr ymddiried hwn o'i iachawdwriaeth i Grist, a'i gyfiawnder, yn dangos ei fod ef yn gyflawn foddlon iddi hi, megis peth y gall un ymddiried iddo mewn modd diogel, hyd y nod yn ngwydd y Duw santaidd. A hyn yw *y gorfoleddu* hwnw *yn Nghrist Iesu,* yr hwn sydd yn gwneuthur i fynu un rhan lewyrchus o gymmeriad y credadyn.

Yn mhellach, y mae hyn yn cynnwys tri pheth, (1.) Golwg ar Grist, yn y mater hwn, megis y Gwaredwr croeshoeliedig, yr hwn a *gyflawnodd bob cyfiawnder*, yn ol ammod osodedig y cyfammod, 1 Cor. ii. 2. Nid Crist, yn y gogoniant cyffredinol oedd iddo gydâ'i Dad, cyn bod y byd, y mae ffydd yn sefydlu ei golwg arno, tra y mae yr enaid yn y cyflwr hwn yn sefyll dan grynu gerbron y Duw santaidd; eithr Crist, Mab Duw wedi ei wneuthur yn ddyn, a dyfod yn y cnawd, wedi ei eni yn santaidd, yn byw bywyd perffaith gyfiawn, ac yn y diwedd yn marw ar y groes, i ddiwallu y gofynion oedd gan y gyfraith ar bechaduriaid tlodion. Y mae hi yn edrych arno ef wedi ei ddyrchafu i'r groes, megis yr oedd y rhai oedd wedi ei brathu gan y seirff yn yr anialwch, yn edrych ar y sarff bres oedd wedi ei dyrchafu ar y drostan, Esa. xlv. 22. Num. xxi. 8. Ioan iii. 14, 15. Am hyny y mae hi yn cael ei galw yn *ffydd yn ei waed ef*, Rhuf. iii. 25. sef ei gyfiawnder ef, yr hwn yr oedd tywalltiad ei waed ef yn gwblhad arno, yr hyn yw ffynnonell gobaith y credadyn. (2.) Gwir grediniaeth o ddigonolrwydd cyfiawnder Crist i achub pechaduriaid, a nyni yn neillduol, oddiwrth bechod a'r digofaint: i ateb drosom ni gerbron y Duw cyfiawn a santaidd, y'ngwydd y gyfraith santaidd, ac i ennill tragywyddol santeiddrwydd a dedwyddwch i ni. Nid oes un ffydd achubol heb hyn: y mae yn rhaid i allu Crist i achub, gael ei gredu, a hyny gydâ chymhwysiad at eich cyflwr eich hun yn bennodol, Mat. ix. 28. "A ydych chwi yn credu y gallaf fi wneuthur hyn?" Ac i'r dyben hyn, y mae ffydd yn golygu cyfiawnder Crist fel *cyfiawnder Duw*, ac am hyny yn anfeidrol werthfawr ac effeithiol, Phil. iii. 9. 1 Ioan i. 7. Y rheswm o herwydd paham y mae yr efengyl, ac nid un athrawiaeth arall, beth bynag a fyddo, yn allu Duw er iachawdwriaeth pechaduriaid, yw,

o herwydd mai ynddi hi y datguddir cyfiawnder Duw i ffydd, Rhuf. i. 16, 17. a hwnw yw yr unig gyfiawnder sydd ar unwaith yn cyfateb i'r perffeithiau dwyfol, a'n cyflwr ninnau. (3.) Ymfoddloniad yn y ffordd hòno o iachawdwriaeth, i ni ein hunain yn bennodol. Y mae gan y credadyn hoffder calon yn y ffordd hon o iachawdwriaeth, megis un hollol ddiogel, sydd yn *allu Duw, a doethineb Duw*, 1 Cor. i. 24. y mae ei enaid yn cyhoeddi y rhai sydd ynddi hi yn ddiogel ac yn ddedwydd: y mae efe yn dymuno bod ynddi hi ei hun; ac y mae efe yn credu y byddai yn gadwedig pe y byddai efe ynddi. Fe ddarfu i'r ffydd hon weithredu yn y wraig a'r gwaedlif arni, Mat. ix. 21. "Hi a ddywedasai ynddi ei hun, os caf yn unig gyffwrdd a'i wisg ef, iach fyddaf." Ac yn y modd hyn y mae hi yn gweithredu yn yr holl gredinwyr, gan eu dwyn i lwyr ymroddi i'r ffordd hòno, ac i hòno yn unig, am eu cyflwr eu hunain yn bennodol. Ac yn hyn, y mae yr anghredinwyr, bob amser, yn ansefydlog.

4. Ymysgogiad tuag at Grist, a'i gyfiawnder yn unig, am waredigaeth oddiwrth bechod a'r digofaint. Y mae hyn yn cael ei wneuthur trwy ymddiried. Canys, a'r pechadur yn credu fod Crist yn Iachawdwr iddo ef, a bod ei gyfiawnder ef wedi ei gyflwyno iddo ef trwy rad rodd; ac hefyd, bod yr Iachawdwr hwn o'i eiddo ef, y'nghyd â'i gyfiawnder, yn ddigonol i'w achub ef oddiwrth bechod a'r digofaint, y mae efe yn gyfatebol i hyny, yn ymddiried yn Nghrist a'i gyfiawnder am ei iachawdwriaeth, ac am hyny y mae efe yn ymosod tuag ato ef: yn yr un modd ag y mae y cardotyn, wedi iddo unwaith gael, ac hefyd yn credu fod iddo ef gyfoeth a golud wedi ei roddi iddo gan gyfaill, yn gadael cardota, ac ar hyny yn ymosod tuag ato ef. Y mae yn wir, lle y mae y golud yn beth daearol, at yr hwn y mae ysgogiad corfforol, nad yw yr ymosod tuag ato, yr un peth a'r ymddiried iddo; etto y mae yr ymosod yn

ganlyniad naturiol o'r ymddiried: eithr, a Christ a'i gyfiawnder, megis y maent yn ddatguddiedig i ffydd, yn bethau hollol ysbrydol, at y rhai nid oes un ysgogiad corfforol yn ofynol, fel y byddo i ni ymosod tuag atynt, y mae yr ymddiried a'r ymosod tuag atynt, yr un peth. Felly, trwy yr ymddiried hwn, y mae yr enaid yn cymmeryd meddiant o Grist a'i gyfiawnder, ac yn defnyddio y ddau megis ei eiddo ei hun, er iachawdwriaeth. Trwy hwn y mae y pechadur yn ymosod, fel un coll-farnedig, at Iesu Grist, megis y drugareddfa ddyhuddawl trwy ei waed ef, sydd yn gweini diogelwch i'r euog gerbron y Duw santaidd: a thrwy hwn y mae y pechadur yn ymwneuthur at yr un Iesu, megis meddyg eneidiau, a chanddo y cyflawnder o Ysbryd santeiddiad ynddo ei hun, i'w gyfranu. O ganlyniad, y mae ffydd yn cael ei galw yn *ddyfod*, Ioan vi. 35. yn *ffoi i gymmeryd gafael*, megis un mewn perygl am ei fywyd trwy ei ymlid, Heb. vi. 18. ac yn aml yn cael ei darlunio, megis Psal. ii. 12. trwy air sydd mewn modd priodol yn arwyddo ymneilltuo, megis i *gysgod*, Barn. ix. 15. neu fel y mae y cywion dan adenydd y iâr, Ruth ii. 12. "Arglwydd Dduw Israel, yr hwn y daethost i ymddiried dan ei adenydd;" *ymneillduo*, mewn ystyr gaeth. Cymharwch Mat. xxiii. 37. "Pa sawl gwaith y mynaswn gasglu dy blant y'nghyd, megis y casgl y iâr ei chywion dan ei hadenydd!"

*Yn ddiweddaf*. Y mae yr ymddiried hwn o eiddo ffydd, yn cynnwys goglud, hyder, neu ymddiried yn Nghrist a'i gyfiawnder, y *gwna* efe ein hachub ni oddiwrth bechod a'r digofaint, yn ol ei addewid sydd wedi ei gosod o'n blaen ni yn yr efengyl, Ioan iii. 16. "Fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Esa. xxv. 9. "Gobeithiasom ynddo, ac efe a'n ceidw." Heb. iii. 6. "Tŷ yr hwn ydym ni, os nyni a geidw ein hyder." Esa. l. 10. "Gobeithied yn enw yr Arglwydd, ac ymddiried yn ei Dduw." Bod yr ymddiried hwn o

eiddo ffydd, yn neillduol, sydd yn amlwg hefyd oddiwrth natur y peth. O herwydd, y mae pwy bynag sydd yn ymddiried mewn person am ryw beth, yn feddiannol ar grediniaeth, i'r un graddau o gadernid ag y mae ei ymddiried ef, y gwna y person hwnw hyny iddo ef. Ac yn arwydd sicr o hyn, lle y mae y person yr ymddiriedwyd iddo yn methu, y mae y person a ymddiriedodd iddo yn cywilyddio ac yn dyrysu, megis wedi cael ei siomi yn y peth yr oedd yn ymddiried iddo am dano. O herwydd paham, gan nad yw ymddiried ffydd un amser yn cael ei siomi, y mae yr ysgrythyr gan hyny yn sicrhau i ni, nas *gwaradwyddir yr hwn a gredo ynddo*, 1 Ped. ii. 6., ac nas *cywilyddir* ef, Rhuf. x. 11. yr hyn sydd yn arwydd yn ddigonol, fod yr hwn sydd yn credu yn Iesu Grist er iachawdwriaeth, yn hyderu y gwna efe ei achub ef: onidê ni byddai un lle iddo gael ei waradwyddo na'i gywilyddio, pa beth bynag a fyddai y canlyniad o'i ymddiried ef. O ganlyniad, y mae hyder ffydd, yn ol graddau ei chadernid, yn sefydlu ac yn sicrhau y galon, Psal. cxii. 7. "Ei galon sydd ddisigl, yn ymddiried yn yr Arglwydd:" ac y mae genym esiampl amlwg o hyn yn amgylchiad Paul, 2 Tim. i. 12. "Nid oes arnaf gywilydd: canys mi a wn i bwy y credais," ymyl y ddalen, *yr ymddiriedais*. Yn gytunol â hyn, y mae ffydd yn cael ei galw, mewn effaith, yn *adeiladu ar Grist*, megis ar sylfaen a wna gynnal y pwysau, Esa. xxviii. 16. y'nghyd â 1 Ped. ii. 6. Y mae hi yn cael ei galw yn *bwyso arno ef*, Can. viii. 5. yn *ymddiried ynddo ef*, Esa. xxvi. 3. yn *orphwys* neu *bwyso arno ef*, 2 Chron. xiv. 11. a'r xvi. 8. megis ar un a'n cynnal ni i fynu; yn *edrych tuag ato ef*, Esa. xlv. 22. *a'n llygaid wedi eu sefydlu arno ef*, 2 Cron. xx. 12. megis un yr ydym yn dysgwyl am gynnorthwy a iachawdwriaeth oddiwrtho: ac yn ddiweddaf, yn *gredu ynddo*, 1 Ped. ii. 6. megis

un, trwy yr hwn *y cawn ein hachub*, Act. xv. 11.
Y mae y pechadur, wedi iddo gael ei ysgwyd ymaith o bob hyder am fywyd a iachawdwriaeth mewn pethau ereill, yn pwyso trwy ffydd ar Iesu Grist, a'i gyfiawnder; gan ymddiried ynddo ef, y bydd iddo gael bywyd a iachawdwriaeth trwy ei gyfiawnder ef. Y mae yn wir, y dichon yn ddiau, i'r ymddiried a'r hyder neillduol hyn, gael ymosod arnynt trwy amryw amheuon ac ofnau: eithr y mae y pethau hyn yn bethau y mae ffydd i ymladd â hwynt, megis gwrthwynebwyr iddi, a pha gryfaf y byddo ffydd, lleiaf i gyd y maent hwy yn llwyddo; a pha wanaf y byddo hi, mwyaf i gyd y maent yn llwyddo, Mat. xiv. 31. "Tydi o ychydig ffydd, paham y petrusaist?" Y mae hi yn wir, yn wahanol iawn o ran graddau, mewn gwahanol bersonau, ac yn yr un personau ar wahanol dymhorau: eithr, os symudwch chwi bob hyder ac ymddiried yn Nghrist, am iachawdwriaeth un iddo ei hun, oddiwrth ffydd, y mae ei hunig natur a'i hanfod hi yn cael eu dinystrio. O herwydd, y dull hyny, y mae y pechadur y mae ei ymddiried yn y cnawd am iachawdwriaeth, yn cael ei ddinystrio, ac heb un hyder ganddo am dani yn Nghrist ychwaith, yn cael ei adael yn hollol ansefydlog ac anwadal, fel tòn y môr, neu gorsen yn y dwfr: a pha le, gan hyny, y mae gwaith ffydd yn adeiladu, yn pwyso, yn ymddiried, yn sefydlu, ac yn gorphwys yr enaid ar Grist? Iago i. 6, 7. "Gofyned mewn ffydd, heb ameu dim: canys yr hwn sydd yn ameu, sydd gyffelyb i dòn y môr, a chwelir ac a defflir gan y gwynt: canys na feddylied y dyn hwnw y derbyn efe ddim gan yr Arglwydd." Eithr y mae y pechadur crediniol, pan y mae ei ymddiried yn y cnawd, yn cael ei ddinystrio, trwy gredu, yn bwrw angor ei ymddiried a'i hyder yn Nghrist Iesu, a'i gyfiawnder, gan hyderu ac ymddiried y gwna efe ei achub ef. A pha fodd bynag y dichon iddo betruso yn

y mater, trwy iddo gael ei daflu gan amheuaeth ac ofnau y'nghylch ei iachawdwriaeth, yn gwanhau gweithrediad ei hyder ef, ac weithiau yn llwyddo mor bell, fel ac i beri attalfa ar ei weithrediad ef; etto, hyd y nod yn y sefyllfa hòno, dan yr holl betruso hyny, nid yw yn ansefydlog *fel ton y mor,* yr hon ni fedd ddim i'w sefydlu hi, eithr yn unig fel llong wrth angor y mae efe. Nid yw ei hyder ef un amser yn cael ei ddiwreiddio yn hollol, o ran y reddf o hono; eithr efe a ymegnia drachefn: ac yn yr ystyr hyny, y mae pob credadyn, fel gwirioneddol *gyfranogwr o Grist, yn dal dechreuad ei hyder yn sicr hyd y diwedd,* Heb. iii. 14. A'r ymddiried a'r hyder hwn yw yr hyn yr oedd ein diwygwyr yn ei alw yn sicrwydd, * ac yn darlunio ffydd wrth hyny.

*Gwrth.* 1. Gan na bydd i bawb a glywo yr efengyl gael eu cadw, nis gall fod, yn achos pob un o honynt, sylfaen, ar yr hon y gall yr ymddiried pennodol hwn gael ei sylfaenu yn warantadwy. *Ateb.* Y mae gan bob un o honynt hwy, er hyny, sail sylweddol i hyny; ïe, i ymddiried yn Nghrist a'i gyfiawnder, am eu hiachawdwriaeth eu hunain

---

* Fe ymddengys fod ein diwygwyr yn gwahaniaethu yn hyn oddiwrth amryw sydd yn awr. Er siampl; y mae person yn cael ei alw trwy ras, a'i ddwyn i ryddid. Nid oes yn y cariad cyntaf hwn, ddim amheuaeth yn dyfod i'w feddwl, na thywyllwch yn cymylu ei enaid ef. Efe a allai ddymuno ehedeg yn ddiatreg i ogoniant. Y mae amryw yn galw hyn yn sicrwydd ffydd. Maes o law, y mae yr Arglwydd yn gadael yr enaid mewn gradd iddo ei hun, i deimlo gweddillion ei lygredigaethau, i adnabod dirgelwch anwiredd yn fwy yn ei galon. Y mae llawenydd a phrofiadau melus yn diflanu; y mae trallod yn dyfod i mewn ar bob llaw; y mae amheuaeth yn dyfod i'r meddwl; a thywyllwch yn cymylu yr enaid: y mae y cwbl yn ymddangos megis wedi ei golli. Etto, er hyny, y mae ei ymddiried a'i hyder ef yn aros. Y gobaith hwn, megis angor yr enaid, yn ddiogel ac yn sicr; Yr ymddiried a'r hyder hwn o eiddo yr enaid yn yr Arglwydd Crist yn unig, yn wyneb pechod a satan, ac anhawsderau yn amgylchu, cyfyngder, ystormydd a thaflu, dyryswch, a phethau yn ymddangos yn anmhosibl; yw yr hyn yr oedd ein diwygwyr yn ei alw yn sicrwydd.

yn bennodol. A hyny yw, cof-ysgrifen a thystiolaeth Duw yn ei efengyl, "na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol," Ioan iii. 16. Ystyr cywir y cyfryw eiriau yw, megis yr ymddengys oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, na fydd i bwy bynag a fyddo yn feddiannol ar yr ymddiried hwn yn Nghrist, gael ei siomi, eithr cael ei achub yn ddiau. Dyma, gan hyny, ffyddlondeb Duw yn ei air, yn sylfaen i'r ffydd hon o ymddiried pennodol: ac y mae gwir ffydd bob amser yn cael ei hadeiladu ar y sylfaen hòno. Y mae yn sicr, yn ddiau, yn y canlyniad, y bydd llawer o'r rhai y daeth yr efengyl atynt, heb eu hachub; eithr y mae mor sicr a hyny, na bydd i'r rhai hyny ag nas cedwir, gredu ychwaith; hyny yw, ni bydd iddynt ddyfod i fynu i'r hyder a'r ymddiried pennodol hwn a ddarluniwyd genym o'r gair, Esa. liii. 1. "Pwy a gredodd i'n hymadrodd? ac i bwy y datguddiwyd braich yr Arglwydd?" Pa fodd bynag, yn ol y dull hyn, y mae ganddynt sylfaen gadarn i hyder bennodol. Os na chredant, *er* hyny, y mae eu dinystr o honynt eu hunain, a hwy a drengant yn ddiesgus; a'u hanghrediniaeth hwynt fydd sylfaen helaeth eu damnedigaeth. Y mae Iesu Grist, y'nghyd â'i gyfiawnder a'i iachawdwriaeth, wedi ei wneuthur mor bell yn eiddo iddynt, trwy osodiad y Tad, a'i gynnyg ef ei hun, fel y gallant hwy mewn modd cyfreithlon ac yn warantadwy ymddiried ynddo ef fel eu Hachubwr, bob un o honynt am ei iachawdwriaeth ei hun. Os na chredant hyn, ac ymddiried ynddo ef yn gyfatebol i hyny, y maent, trwy eu hanghrediniaeth a'u hanymddiried, yn dianrhydeddu y Tad a'r Mab, ac yn y modd mwyaf cyfiawn yn trengu.

*Gwrth.* 2. Y mae amryw yn ymddiried yn Nghrist fel eu Hiachawdwr, gydâ neillduol hyder y bydd iddo ef eu hachub hwynt, ac etto yn anferth o anwybodus, yn halogedig, neu yn rhagrithwyr ffurfiol; ac am hyny heb fod yn wir gred-

inwyr, ac heb eu huno â Christ. *Ateb.* Y mae yr apostol yn ei waith yn llefaru am *ffydd ddiragrith,* 1 Tim. i. 5. yn caniatâu fod ffydd ragrithiol yn bod. Ac yn wir, y fath ymddiriedwyr a hyny yn Nghrist sydd yn ei meddu hi. Eithr, mewn perthynas i'r ymddiried hwnw, yr hwn y darfu i ni ei ddarlunio ef o'r gair, y mae mor sicr nad ydynt yn ei feddu ef, ag yw fod gwir ffydd yn puro y galon, Act. xv. 9. ac yn wirioneddol yn santeiddio, pen. xxvi. 18. Megis y mae y cyfryw ymddiriedwyr yn dywedyd eu bod yn derbyn Crist, ac yn gorphwys arno ef yn unig am iachawdwriaeth, yn cofleidio, yn derbyn, ac yn caniatâu iddo ef yn nghynnygiad yr efengyl; fel hyny hefyd, y maent yn dywedyd eu bod yn ymddiried ynddo ef: eithr nid ydynt yn meddu yr ymddiried hwn ynddo ef, yn wirioneddol. O herwydd yn 1taf, Nid ydynt yn ymddiried ynddo am ei holl iachawdwriaeth; na, o ran y rhan benaf o honi, sef, gwaredigaeth oddiwrth bechod, nid ydynt mewn un modd yn gytunol â hyny: o herwydd paham, hi a all yn hawdd fod yn wrthddrych eu hoffi a'u casineb hwynt; eithr nis gall fod yn wrthddrych eu hymddiried hwynt. 2. Nid ydynt yn ymddiried ynddo ef yn unig am yr achubiaeth y maent yn dymuno ei meddu hi: nid ydynt yn ymddiried ynddo a'u holl galon; eithr mewn rhan ynddo ef, ac mewn rhan yn eu gwneud a'u dyoddef eu hunain; ac y mae eu calon wedi eu rhanu rhwng eu heiddo eu hun â'r Gwaredwr. Y mae hyn yn amlwg oddiwrth Mat. v. 3. "Gwyn eu byd y tlodion yn yr ysbryd; canys eiddynt yw teyrnas nefoedd." Yn ddiweddaf; Nid yw eu hymddiried wedi ei sylfaeni ar ffyddlondeb Duw, yn addewid rydd yr efengyl; eithr wedi ymgodi oddiar ryw un o'r sylfaeni tywodlyd, Esa. liii. 1. "Pwy a gredodd i'n hymadrodd?" Mat. vii. 26. "Pob un a'r y sydd yn gwrando fy ngeiriau hyn, ac heb eu gwneuthur, a gyffelybir i wr ffol, yr hwn a adeiladodd ei dŷ ar y tywod."

Yn y modd hyn, nyni a ddangosasom, pa beth yw y ffydd hòno, neu y credu, trwy yr hwn y mae y pechadur yn ymuno â Iesu Grist, ac felly yn myned yn bersonol i mewn i'r cyfammod gras. Fe ellir gweled paham y trefnodd Duw ffydd yn foddion i uno pechaduriaid â Christ, oddiwrth Rhuf. iv. 16. *Am hyny o ffydd y mae, fel y byddai yn ol gras;* am yr hyn y dywedwyd o'r blaen. Yma nis gwnaf ond yn unig sylwi, fod yr ymddiried hwn, sydd yn hollol yn Nghrist a'i gyfiawnder, am ei holl iachawdwriaeth ef, yn gyfrwng neu foddion cymhwys o undeb, rhwng Crist, y person yr ymddiriedir iddo, a'r enaid sydd yn ymddiried ynddo ef; gan fod yr enaid yn hyny, yn cael ei ddwyn iddo ef, fel y mae efe trwy hyny, o'r munud hwnw allan, megis pe bai, yn hollol i sefyll neu syrthio gydâg ef; fel y mae yr oruch-adeilad y'nghyd â'r sylfaen, y gorphwyswr yn nghyd a'r hyn y mae efe yn gorphwys arno, y peth sydd yn pwyso, gorphwys neu yn attegu ar beth arall, y'nghyd a'r atteg neu y sylfaen y byddo efe wedi ei osod arno. O herwydd paham, gan fod gwrthddrych ffydd yn anffaeledig, "Fe fydd y rhai a ymddiriedant yn yr Arglwydd, fel mynydd Sion, yr hwn ni syflir, ond a bery yn dragywydd," Psal. cxxv. 1. Wrth hyny, y maent wedi eu huno â Christ, a thrwy iddynt gael eu huno ag ef, y maent wedi eu gosod yn bersonol yn y cyfammod gras, er eu tragywyddol iachawdwriaeth.

DIWEDD.

---

J. JENKINS, ARGRAFFYDD, MERTHYR.

